# Y
# Credadyn Bucheddol:
NEU
# FANNAU
# CREDO 'R APOSTOLION.

---

Wedi eu gosod allan yn gymmwys i hyweddu pob Dyn i Fuchedd Dduwiol a CHRISTIANOGOL.

---

YN DDWY RAN.

---


A ysgrifenwyd yn SAISNEG,
Gan y Parchedig
Mr JOHN KETTLEWELL,
Ficar COLES-HILL yn SIR-WARWIC,
Ynghylch y Flwyddyn 1689.


---


Ac a gyfieithiwyd o'r trydydd Argraphiad Seisnig,
Gan RISIART AP ROBERT,
Athraw Ysgol Llanrhaiadr yng Nghinmerch,
Yn Sir Ddinbych, yn y Flwyddyn 1763.


---


LLUNDAIN:
Argraphwyd gan SION a WILIAM OLIFER,
yn Bartholomew-Close.

M DCC LXVIII.

# Y CYFIEITHYDD AT Y DARLLENYDD.

*Ddarllenydd Rhadlawn,*

MAE 'N rhaid i mi gyfaddef, mai Rhyfyg, a chwannowgrwydd i'r Wobr, am denodd i gymmeryd Cyfieithiad y Llyfr hwn mewn llaw, a mi yn gwybod fy Annheilyngdod fy hun mewn amryw foddion; canys yn fwyaf peth, ni chawſwn mor Addyſg oedd ddyladwy i'r cyfryw Orchwyl pwysfawr ac ydoedd hwn: ond etto, ni fynnwn i ti dybio fy mod i mor ryfygus ac unwaith feddwl am y Gwaith heb erfyn Cynnorthwy Perchen Addyſg: er mwynhau'r cyfryw, mi a aethym at amryw Eglwyswyr o'r Gymmydogaeth, y rhai oll oeddynt barod i'm cynnorthwyo hyd lle y byddai Gyfleuſtra ganddynt (ac yr ydwyf yn gwbl ddiolchgar am y Cynnorthwy

lleiaf, mewn pa Ddull bynnag.) Ond yn enwedig, Hyfforddiad hylwybraidd y Diweddar Barchedig Mr WILIAM WYNN o Lan-Gynhafal, a fu i mi yn Gynnorthwy rhagorol hyd Ddydd ei Farwolaeth! Ac ar ei ol ef, y Parchedig Mr EVAN EVANS, (y pryd hwnnw) o Lanfair Talhaiarn; yr hwn, drwy ei Ofal a'i Aſtudrwydd yn golygu a diwygio fy Ngwaith, a'm rhoddes ar y Ffordd i'w orphen yn gymmwys i'w roddi ger bron eraill Eglwyswyr dyſgedig yn yr Iaith, y rhai a farnaſant ei fod yn haeddu 'r Wobr; yr hon a dalwyd yn ewyllyſgar gan y Pendefig haeddedigol ROBERT WYNN o'r Plasnewydd *Yſwain*. Yn ol Llythyr Cymmyn ei Ddiweddar *Dad* o Goffadwriaeth Gwynfydedig: ac ym mhellach, a ddiwallodd Angenrheidiau 'r Waſg, gan anfon Swm nid bychan yn Ychwaneg. Ond yr oedd un Diffyg ar ol fyth, ſef eiſiau Gwr celfyddgar a gymmerai arno ddiwygio 'r Waſg, yr hyn (drwy Erfyniad Gwr Bonheddig o'n Gwlad) a gymmerwyd yn llaw gan yr Ieithydd celfyddgar hwnnw yng Ngwaſanaeth ei *Fawrhydi*, RHISIART MORYS, *Yſwain*, Llywydd Cymdeithas anrhydeddus y CYMMRODORION yn *Llundain*. Gorchwyl yr hwn oedd raid bod yn faith; gan ei fod yn mynnu gweled Uniawndeb i'r Awdur gan y Cyfieithydd, yn gyſtal ac i'r Darllenydd gan yr Argraphydd.

Gan

Gan hynny, Ddarllenydd anwyl, na thybia'n waeth am y Llyfran hwn o ran Ammherffeithrwydd y Cyfieithydd; eithr ystyria'r Gofal oedd ar yr Awdur Parchedig dros dy Enaid: ac nac anghofia Garedigrwydd y dywededig Gymro Pendefigaidd, tueddiad pa un a fu mor fawr am gael o honot y Llyfr yn dy Iaith dy hun; a'i *Fab* ar ei ol, am ei Barodrwydd i ddwyn y Gwaith i ben. Ac yn ddiweddaf, cyd roddwn Ogoniant i Dduw, am anfon i'n meddiannau y cyfryw iachusawl Gyfarwyddyd pa fodd y mae i ni drefnu ein Ffydd yn fwyaf llesol.

*Myfi wyf dy Gydwladwr tlawd,*

*a'th Ostyngeiddiaf Wasanaethwr,*

LLANRHAIADR,
Dygwyl Ddewi.
1763.

RHISIART AP ROBERT.

*I Gred, a Buchedd Dduwiol,*
*Mae Rhan yn Nheyrnas nefol:*
*Ond hyspys yw mai gwael yw Rhan*
*Credadyn anfucheddol.*

# RHAGYMADRODD
## YR
# AWDWR.

*Ddarllenydd Hynaws,*

DERBYN hyn, megis annerch mewn traethawd, ynghylch y Sanctaidd ffydd Griftianogol: i'r hon, gan ein bod oll yn proffefu dilys greduniaeth, felly y dylem fod yn ofalus i gyflawni yr unrhyw broffes mewn ymarfer fanćteiddiol a Chriftianogol. Myfi gan hynny a fum ofalus i roddi'r cyfryw wybodaeth am yr Hollalluog Dduw a'r a ddichon annog pob dyn teimladwy i'w garu ef a'i wafanaethu; a gwahardd pob dyn annheimladwy rhag bod mor ryfygus, drwy gamfyniad ei ddaioni, a gwneuthur achos i gyffroi ei ddigofaint ef. A chan yftyried ei ragluniaeth, a ddangofais y modd i gael llefhaad oddiwrthi mewn pob cyflwr a damwain; ac a geifiais hefyd ddangos pob hynodrwydd arall yn y *Credo* a'r y fydd fwyaf angenrheidiol i'w gwybod genym, ac a ddichon wneuthur ffydd yn fwyaf bywiog a nerthol ynom. Fy holl amcan oedd ofod

o'th flaen sylwedd yr athrawiaeth Gristianogol, fel y bo i ni mewn oes mor lawn o opiniynau ffeilsion, ymgynnal wrth y gwirionedd Cristianogol; a gosod ein hawyddfryd ar y cyfryw bwyntiau o'r gwirionedd hwn a'r a fyddont fwyaf llesol a chyfaddas i'w derbyn.

Fy mwriad wrth y traethawd hwn, hyd y mae ynof fi, ydyw cynnorthwyo y rhai oll sy'n dymuno hynny, ac a ymroant yn ddiragrith i weithredu fel y byddont yn credu, gan gymmeryd ffydd yn ras i'w blaenori; a dangos hefyd y modd i gael llesliaad oddiwrth y gras hwnnw, trwy gyfarwyddyd ysprydol yn yr achosion a'r perthynasau mwyaf pwysfawr. A chan ddal sulw wrth fyned trwy'r esponiad hwn o'r *Credo*, nad llwytho llyfr, gan osod ynddo'r cwbl a'r a ellid yn berthynasol grybwyll am danynt, oedd fy mhwrpas i; ond yn hyttrach mai dy gyfarwyddo di yn yr hyn yr oeddwn i yn ei feddwl oedd y gychwynfa fwyaf cyfaddas mewn perthynas i'r gwirionedd; gan ddewis y cyfryw rannau o honynt a'r a fyddont fwyaf cyfaddas i'n cyffroi, a chymhwysaf hefyd i'w harferu; gan ddangos y modd i ddilyn y cyfryw hyfforddiadau, yn yr yrfa hon; sef, ym mysg amrywiol ddamweiniau'r bywyd hwn.

A chan

A chan obeithio y bydd y llyfran hwn yn llefol i hyfforddio'r cyfryw rai nas meddant mor ennyd i ddarllain, na moddion i brynu llyfrau mwy o faintioli, myfi a drefnais yr unrhyw mor gyfleus, a chyn fyrred ac oedd fodd: eithr tan un i gynnwys ynddo gymmaint, nid yn unig ac fydd angenrhaid, eithr yn llefol hefyd, er athrawiaeth ac annogaeth i'r neb-ryw Griftion a'r a roddo ei fryd ar eu dyfgu, ac i rodio wrth eu cyfarwyddyd. Ac nid wyfi yn ammeu na bydd iddo, mewn rhyw fefur atteb i'r diben yr anfonwyd ef ar led, gan wneuthur rhyw faint o wafanaeth i'r Drindod fendigedig, a gwneuthur ffydd yn fwy bywiol fyth yn y fawl a'i proffeio.

Ac o bydd i ti, ddarllenydd anwyl, ynnill rhyw faint o leshaad oddiwrth hyn, modd na phallo genyt roddi goftyngedig ddiolch a mawl i Dduw am ddiwallu dy angenrheidiau drwy waelder neb rhyw un a rodder ar waith ganddo ef; felly un peth a ddymunaf genyt, megis o gydnabod; fef fod i ti, yngwres dy ddefofionol erfyniadau, ddyrchafu un weddi at ein Tad nefol, am ei iachawdwriaeth ef i'r hwn a gymmerodd yn ewyllyfgar y drafferth i drefnu hyn o waith er mwyn dy iachawdwriaeth di.

# ENWAU

## Y

# CYNNORTHWYWYR.

A.

REV. Lewis Anwyl, Person *Abergeleu*,
Mr William Anwyl, Twrnai.

B.

Rev. Thomas Baker, Curad *Llan-Erfil*.
Henry Barker, *Brynffordd Gate*.

C.

Sir Lynch Salusbury Cotton, Bart. M.P. 6 Ll.
William Carbury, *Halkin*.
John Clarke, *Rhuel*, Esq;
Powel Clough, *Glan y Wern*, Esq; 6 Llyfr.
John Conway, *Astrad*, Esq; 10 Llyfr.
Mr John Conway, *Rhuthun*; Poticari.
Rev. Robert Conway, Person *Trefriw*.
Cymdeithas y Cymmrodorion, *Llundain*.

D.

Rev. David Davies, Perſon *Llan-Fyllin.*
David Davies, *Tafarn Gelyn.*
John Davies, *Llannerch*, Eſq;
Robert Davies, *Llannerch*, Eſq;
Miſs Molly Davies, *Llannerch.*
Robert Davies, *Britbdir.*
Robert Davies, *Gwern y Neidr.*
Robert Davies, *Clochydd Llan-Rhaiadr.*
Thomas Davies, *Egham.*
Mr John Doulben, *Llan-Gynhafal.*

E.

Rev. Edward Edwards, Perſon *Llan-St Ffraid Glan Conwy.*
Mr Edward Edwards, *Llawog*; Twrnai.
Rev. John Edwards, Ficar *Cwm*, 2 Lyfr.
Mr John Edwards, *Dinbych*, Swyddog yr Ecſeis.
Mr John Edwards, *Llawog.*
Peter Edwards, *Rhuthun*; Caeadwr Lyfrau.
Robert Edwards, *Hafod Lom.*
Robert Edwards, *Llan Gynhafal.*
Mr Thomas Edwards, *Dinbych*; Barcer.
Thomas Edwards, *Dynbych*; Bardd.
Mr Edward Ellis, *Cinmel.*
Mr John Ellis, *Henllan*; Yſgolydd.
Mr John Ellis, *Cyffdy*; Twrnai.
Rev. Richard Ellis, *Gwynfryn.*
Rev. David Evans, Ficar Côr *Llan-Elwy.*
Edward Evans, *Rhuthun.*
Rev. Evan Evans, Curad *Llanfair Talhaiarn.*

Rev.

Rev. Evan Evans, Curad *Llan-Uwchlyn.*
Mr Evan Evans, *Dinbych*; Poticari.
Mr Hugh Evans, *Bryn y Pobty*; Twrnai.
Rev. John Evans, M. A. *Portsmouth.*
John Evans, *Bryn Madyn.*
Mr John Evans, *Rhuddlan*; Swyddog y Dollfa.
Rev. Robert Evans, Ficar *Gwyddelwern.*
William Evans, *Plas-Newydd, Llan-Rhaiadr.*

F.

Rev. Edward Foulkes, Person *Llan-Bedr.* 3 Llyfr.
Mr Edward Foulkes, *Bryn, Llan-Asaph*, 2 Lyfr.
John Foulkes, *Ereivate*, Esq;
Rev, Lloyd Foxwist, Curad *Llan-Ddeiniolen.*

G.

Robert Goodman, *Llan-Elidan.*
Rev. William Green, Person *Llan-Bedr*, 6 Llyfr.
Mrs Dorothy Griffiths, *Bryn Sïon.*
Rev. Griff. Griffiths, Ficar *Whitford.*
John Griffiths, *Lleyn*, Esq;
Richard Griffiths, *Gloddaith.*
Robert Griffiths, *Rhos.*
Rev, William Griffiths, Person *Llan-Beblig.*

H.

Mr Robert Howard, *Conwy*, Cynhullwr y Dollfa, 2 Lyfr.
Mr David Hughes, *Tref Aseth.*
David Hughes, *Ty mawr, Llysfan.*
Mr Griff. Hughes, *Bryn y Defaid.*
Mr Hugh Hughes, *Llain wen.*

Mr

Mr Hugh Hughes, *Rhuthun*; Poticari.
John Hughes, *Tre' Fachymbyd.*
John Hughes, *Trefan*, Esq;
Mr John Hughes, *Llan-Rwst*; Siopwr.
John Hughes, *Tan yr Ywen.*
Mr Mich. Hughes, *Picton.*
Mr Richard Hughes, *Cefn Llyfnog.*
Mr Robert Hughes, *Mitre-Court*, *Llundain.*
Mr Samuel Hughes, *Budge-Row*, *Llundain.*
Rev. Thomas Hughes, LLB. Person *Llan-Fwrog*, 3 Llyfr.
Mr John Humphreys, *Rhyd Lanfair*, 4 Ll.
William Humphreys, *Llwyn*, Esq;
Robert Vaughan Humphreys, *Caer-Ynwch*, Esq;

## J.

Coleg yr Iesu, *Rhydychen.*
Rev. John Jeffreys, Ficar *Rhuddlan*, 2 Lyfr.
Daniel Jones, *Rhuddlan.*
David Jones, *Tref yr Yw*; Bardd.
Mr Jones, *Talacrau*, *Llan-Asaph.*
Mr Edward Jones, *Llan-Gynhafal*; Twrnai.
Mr Edward Jones, *Rhuthun*; Siopwr.
Edward Jones, *Ty'n y Celyn*; Bardd.
Edward Jones, *Rhuthun*; Saer coed.
Edward Jones, *Tan y Dderwen.*
Mr Hugh Jones, *Parc.*
Rev. John Jones, Ficar *Cricieth.*
Rev. John Jones, Person *Llan-Fihangel a Phennant.*
Rev. John Jones, Person *Llan-Rwst.*
Mr John Jones, *Cefn Ceirch.*
Mr John Jones, *Llan-Gynhafal.*
Mr John Jones, *Pentre'r Llech.*
John Jones, *Plas newydd*, *Llan-Sannan.*

Rev. Joseph Jones, *Offeiriad Yspytty.*
Mr Owen Jones, *Facblwyd.*
Mr Peter Jones, *Rhuthun,* 3 Llyfr.
Rev. Robert Jones, Curad *Henllan.*
Mr Robert Jones, *Parc.*
Robert Jones, *Gwaen Brion.*
Mr Robert Jones, *Brook-house.*
Robert Jones, *Clochydd Llan-Ynys.*
Rev. Thomas Jones, Person *Traws-Fynydd.*
Thomas Jones, *Rhyd Eidion, Llan-Sannan.*
Thomas Jones, *Nant goch.*
Thomas Jones, *Pencraig bach.*
Rev. William Jones, Person *Llan-Fihangel.*
Rev. William Jones, Curad *Edeyrn.*
Mr William Jones, *Rhuthun*; Poticari.
Mr William Jones, *Glan Clwyd.*
Mr William Jones, *Dol Gynlas.*
William Jones, *Tre' Logan isaf.*

K.

John Kyffin, *Ucheldref,* Esq;
Mrs. Kyffin, *Maenen.*
Mr Robert Kyffin, *Henllys.*

L.

Rev. Richard Langford, Ficar *Eglwys Fach.*
Mr John Lewes, Swyddog yn y Tolldy, *Llundain.*
Rev. Ambrose T. Lewis, Person *Gwytherin.*

Ll.

Rev, Mr Lloyd, *Cefn Meiriadog.*
Rev. David Lloyd, Curad *Llan Ynys,* 2 Lyfr.

David

David Lloyd, *Llys, Llan-Sannan.*
Rev. Hedd Lloyd.
Henry Lloyd, *Coed Orras.*
Mr Hugh Lloyd, *Lodge.*
H. Hughes Lloyd, *Gwerglas*, Efq;
Rev. John Lloyd, *Gwrych*, Ficar *Llan-Afaph*, 2 Lyfr.
Rev. John Lloyd, Curad *Bryn Eglwys.*
Mr John Lloyd, *Hendre'r Ddwyfan.*
John Lloyd, *Dinbych*; Goftegwr.
Rev. Owen Lloyd, Perfon *Llan-Nefydd*, 2 Lyfr.
Mr Robert Lloyd, *Maes Annod.*
Mr Robert Lloyd, *Llanddoged.*
Mr Robert Lloyd, *Llwyn*, 2 Lyfr.
Robert Lloyd, *Llan-Rhaiadr*; Gof, 3 Llyfr.
Robert Lloyd, *Llan-Sannan*; Saer Maen.
Mr Robert Lloyd, Ieuaf, *Dinbych*, Siopwr.
Mr William Lloyd, *Llan-Sannan.*
William Lloyd, *Llan-Sannan*; Cigydd.
William Lloyd, *Rhiwedog*, Efq; 2 Lyfr.

M.

Mrs Madocks, *Llechweddgarth.*
Mr John Mafhmore, *Bod-Tegir.*
Mr John Mafon, *Dinbych*; Siopwr.
Thomas Maurice, *Rhuthun*, Cigydd.
Thomas Maurice, Ieuaf, *Pant gwyn.*
Meyrick Meredith, *Llan-Bedr*, Efq; 6 Llyfr.
Rev. David Morris, Perfon *Ffeftiniog*, 2 Lyfr.
Mr Hugh Morris, *Spring Gardens*, *Weftminfter.*
Richard Morris, *Navy Office*, *Llundain*, Efq;
Rev. Robert Morris, Curad *Llan-Gynhafal.*
John Moftyn, *Segrwyd*, Efq; 6 Llyfr.
William Moftyn, Hynaf, *Bryngwyn*, Efq;

William Mostyn, Ieuaf, *Bryngwyn*, Esq; 6 Ll.
John Myddelton, *Gwaenynawg*, Esq; 6 Ll.
Robert Myddelton, *Gwaenynawg*, Esq; 2 L.
Rev. Robert Myddelton, Person *St Sior*, 6 Llyfr.

O.

Mr Hugh Owen, *Cynnullwr ardreth yr Afon newydd, Llundain.*
Mr James Owen, *Dinbych*; Twrnai.
John Owen, *Bod-Idda*, Esq;
Rev. Owen Owen, Person *Llan-Gwstenyn.*
Owen Owen, *Llwyn, Cliciedig.*
Rev. Thomas Owen, Person *Bettws Gwerfil goch.*
Rev. William Owen, Curad *Bod-Euan.*

P.

Mr Alban Parry, *Bala.*
David Parry, *Bryn Lluarth.*
Mr John Parry, *Bachymbyd.*
Mr Owen Parry, *Bala*; Meddyg.
Richard Parry, *Plas yr Esgob.*
Mr Thomas Parry, *Canolblas.*
Rev. William Parry, Curad yr *Wyddgrug.*
William Parry, Cyfarchwyliwr y *Mint-Office, Llundain*, Esq;
Mr David Peirce, *Tre' Fachymbyd*, 3 Llyfr.
Humphrey Peirce, *Garreg*, Esq;
Mr Robert Phylips, *Pentref.*
Ellis Powell, *Derwen.*
Mr Richard Powell, *Gyffylliog.*
Rev. David Price, Person *Llan-Elian.*
Rev. James Price, Person *Llan-Sannan.*

Rev.

Rev. John Price, A. M. *Ceidwad Llyfrgell Bodley*, Rhydychen.

Mr John Price, Hynaf, *Dinbych*; Menigwr, 2 Lyfr.

Peter Price, *Gwerni Howel*, Esq;

Rev. Sal. Price, Person *Meifod.*

Thelwall Price, *Bathafarn*, Esq;

Thomas Price, *Heol Fawr*, *Llan-Asaph.*

Evan Prichard, *Tref yr Yw.*

William Prichard, *Clochydd Llan-Dwrog.*

Edw. Vaughan Pughe, *Ty Gwyn yn Ial*, Esq; Bardd, 2 Lyfr.

Mr Ellis Pugh, *Spring Gardens*, *Westminster.*

Rev. Rice Pugh, Person *Llysfan.*

Mr Samuel Pugh, *Newmarket.*

R.

Rev. David Richards, Person *Llan-Hychan.*

Mr Edward Richards, *Ystrad Meurig*; Ysgolydd.

Mr David Roberts, *Gwaun Dywysog.*

Edward Roberts, *Wrecsam.*

Rev. Goodman Roberts, Curad *Prees.*

Rev. John Roberts, Ficar *Aberdaron.*

Rev. John Roberts, Person *Llan-Bedrog.*

Mr John Roberts, *Bala*; Twrnai.

John Roberts, *Ty isaf*, *Llan-Gwm.*

Rev. Robert Roberts, *Bryn Morwydd*; Ficar *Llan Rhaiadr Cinmerch*, 10 Llyfr.

Mr Robert Roberts, *Ystrad isaf.*

Mr Robert Roberts, *Pen y Coed.*

Rev. Thomas Roberts, *Llan yr Hydd*; Ficar *Llan-Ynys a Gyffylliog*, 2 Lyfr.

Thomas Roberts, *Rhuthun*; Cigydd.

Thomas Roberts, *Tan y Garth.*

S.

Sir Thomas Salusbury, Knt. LLD. Ynad Uchel Lys yr *Admiralty*, 3 Llyfr.
Mr Robert Salusbury, *Cotton-Hall.*
Rev. Thelwall Salusbury, Person 2 Lyfr.
Rev. Edward Samuel, Person *Llan-Garw.*
Capt. William Samuel, *Rhuddlan.*
Rev. William Stodart, Person *Bettws Abergeleu*, 2 Lyfr.

T.

Mr David Thomas, *Moorfields, Llundain.*
Rev. John Thomas, Curad *Llan Gybi.*
Rev. John Thomas, Coleg yr Iesu, *Rhydychen.*
Mr Lewis Thomas, *Ty'n y Rhos.*
Mr Robert Thomas, *Ty'n y Wern.*

V.

William Vaughan, *Cors y Gedol*, Esq; M. P.
Mr Hugh Vaughan, *Dinbych*; Sidanydd.
John Vaughan, *Groes*, Esq;
Mr Peter Vaughan, *Bod-Eiliog.*
Rev. James Vincent, Ficar Côr *Bangor*, 4 Llyfr.

W.

Benet Williams, *Bod le Widdon*, Esq;
Rev. Edward Williams, Ficar Côr *Llan-Elwy.*
Mr Edward Williams, *Pentre'r Llech.*
Rev. Francis Williams, Curad *Llan-Llyfni.*
Mr John Williams, *Gwydyr*, 2 Lyfr.
Rev. John Williams, Person *Llan-Gadfan.*

John

John Williams, *Gwaun Pysgodlyn.*
Mr John Williams, *Lombard-Street, Llundain.*
Lewis Williams, *Hafod Wryd*, Esq;
Rev. Maurice Williams, Curad *Dol y Wyddelen.*
Rev. Robert Williams, Person *Llan-Ystyndwy.*
Samuel Williams, *Llan-Hychan.*
Thomas Williams, *Pen Gwern.*
William Williams, *Ty'n y Caeau, Llan-Asaph.*
Mr William Williams, *Coed cochion.*
William Williams, *Llwyn Derw.*
Rev. William Worthington, D.D. Person *Llan-Rhaiadr ym Mochnant*, 2 Lyfr.
Rev. Edward Wynne, Person *Pen-Morfa.*
Mrs Elizabeth Wynne, *Newmarket.*
Owen Wynne, *Llwyn*, Esq; 3 Llyfr.
Pierce Wynne, *Llan-Hychan*, Esq; 6 Ll.
Robert Wynn, *Plas Newydd*, Esq; 206 Llyfr.
Robert Wynne, *Dyffryn Aled*, Esq;
Mr Rowland Wynne, *Bryngwyn.*
Tho. Welchman Wynne, Esq;
Thomas Wynne, *Erw-Gwenllian.*
Rev. William Wynn, Person *Llan-Gynhafal.*





# Y
# CREDADYN BUCHEDDOL.

## Y RHANN GYNTAF.

### Am nattur a ſiccrwydd y Ffydd Griſtianogol.

## PENNOD I.

### *Am y Ffydd Griſtianogol.*

CYNNHWYSIAD Y BENNOD.

*Meddwl y ffydd Griſtianogol. Pan weithredo'r ffydd hon ynom, y mae hi yn cyfiawnhau, neu yn lleſhau i gyfiawnder. Amryw rannau pennodol o gredun-iaeth, a thueddiadau perthynaſol i'r ymarferion a fo gwedduſaf iddynt. Yr holl rannau hynny wrth reſwm a ddiſgwylir gennym, er nad ŷnt gynneſinol pan fyddo dynion yn gweithredu yn erbyn eu prif gynneddfau eu hunain, ac yngwrthwyneb i reſwm. Ffydd ynghyd â'i ffrwythau ſydd yn atteb i ffydd ac edifeirwch. Gan hynny yr un ffrwythau a gyfriſir i ffydd ei hunan ag ſydd ddy-ledus iddi ynghyd ag edifeirwch. Y ffydd ynghyd â'i ffrwythau oedd yr hon a gyfiawnhaodd y* Gwyr ſanctaidd *yn yr* hen Deſtament *gynt. Pan y mae* S. Paul *yn ſefyll yn erbyn cyfiawnhaad ffydd i weithredoedd y gyfraith, dywedyd y mae yn erbyn gweithredoedd cyfraith yr* Iuddewon. *Yr hyn ſydd yn cymmhwyſo ffydd i'r diben hwnnw, ac yn dangos y rhagoriaeth rhwng ffydd y ſaint a*

*ffydd pechaduriaid, ydynt yn* gyntaf, *ei phurdeb, yn* ail, *ei chadernid, ſef ei ſiccrwydd. A'i bod yn gydwybodol, neu yn aros mewn un a gadwo ei air o ran cydwybod. Ac yn ddianwadal. Yr achos o alw ffydd yn orphwyſfa mewn hyder ar Griſt am iachawdwriaeth. Y llaw i'w dderbyn ac i wneud defnydd o hono. Nad yw rann yn y byd o ffydd ynom gredu fod ein pechodau wedi eu maddeu, na chwaith o anffyddlondeb yr ammau hynny. Diniweidrwydd y cyfryw ammheuaeth ar lawer tro. Am hyder rhai dynion daionus ar faddeuant.*

Y Bennod yn canlyn.

*Gofyniad.* GAN ſod dynion wedi eu gwneuthur i fyw yn dragywydd, ac iddynt eneidiau yn werth tragywyddol iachawdwriaeth, pa beth ſydd raid iddynt wneuthur fel y bont gadwedig?

*Atteb. Credu yng Nghriſt* ac *edifarhau.* Oblegid ffydd ac ufudd-dod (gan fod dynion wedi pechu o'r blaen) a elwir edifeirwch, i'r hyn y mae ammodau iachawdwriaeth yn perthyn.

*Gof.* A ydyw ffydd *yng Nghriſt* yn un o'r pethau angenrheidiol at ynnill iachawdwriaeth?

Io. 5. 24. Mar. 16. 16. *At.* Ydyw. *Yr hwn ſydd yn gwrando fy ngair i,* medd ein Hiachawdwr, *a aeth heibio o farwolaeth i fywyd, ac ni ddaw i ddamnedigaeth. Yr hwn a gredo'r efengyl ac a fedyddier, a fydd cadwedig: eithr y neb ni chredo a gondemnir.*

*Gof.* A ddichon ffydd o bob math gadw dyn?

Ia. 2. 19. *At.* Na ddichon, o ran y mae'r *cythreuliaid yn credu.* Ffydd ddigonol er iachawdwriaeth yw yr hon yn unig a baro weithrediad ynom tuag at edifeirwch: oblegid edifeirwch cyſtal a ffydd ſydd angenrhaid er iachawdwriaeth dragywyddol.

*Gof.*

*Gof.* Gan fod ffydd ynddi ei hunan yn un rhann o ammodau happusrwydd, ac yn berthynol hefyd i roddi y rhann arall ar waith, angenrhaid yw caffael iawn wybodaeth am dani, ac am y rhagoriaeth rhwng ffydd achubol a mathau eraill ar ffydd. Pa beth a feddylir wrth *ffydd yng Nghrist*?

*At.* *Ffydd yng Nghrist*, yn gyffredinol yw *credu yr hyn oll a ddywedpwyd i ni gan Grist*: ac weithiau yn fwy enwedigol, *credu yr hyn a ddywedpwyd am dano ef*: *credu yr hyn a ddywedpwyd ganddo ef* a elwir *ffydd yng Nghrist* fel y mae ei awdurdod ef yn rheswm am ein creduniaeth; a chredu *yr hyn a ddywedpwyd am dano ef* a elwir *ffydd yng Nghrist* fel y mae efe ei hun yn dystiolaeth. A phan fo i'r greduniaeth hon weithio ynom, a ninnau yn arferu yn ol ein proffes: hynny a gyfrifir yn gyfiawnhaad.

*Gof.* *Ffydd yng Nghrist* meddwch, yw credu yr hyn a fynegwyd i ni ganddo ef, neu roddi o honom ymddiried ar ei air ef?

*At.* Ie. Canys felly y dywed yr ysgrythurau
pan ei galwant hi yn *ffydd Grist*; sef ei addysg ef Gal. 2.20.
a'i athrawiaeth; a *ffydd i Grist*, iddo ef, gan ei dystio Phil. 3. 9.
a chyhoeddi; a *ffydd yn yr efengyl* a'r *gwirionedd*, Act. 18.8.
gan mai 'r efengyl oedd y gair hwnnw o wirionedd; Mar. 1. 15.
yr hwn drwy ei awdurdod y mae efe yn ei dyst- Phil. 1. 27.
iolaethu i ni. *Ffydd yng Nghrist* sydd hefyd yn 2 Thes. 2.
adroddedig wrth *dderbyn gair Duw*; *gwrando gair* 13.
*Crist*; *derbyn Crist*; *derbyn tystiolaeth Crist*, *a dyfod* Heb. 10.
*at Grist*. A hyn oll, fel y gwelir, nid ydynt 26.
amgen na chynnifer o eiriau eraill a roddwyd am Act. 11. 1.
y gair *ffydd*: y rhai sy'n dangos yn eglur mai Io. 12. 47, 48.
ffydd neu greduniaeth ydyw coelio ei air ef, a Io. 1. 12.
derbyn yr hyn a fynegwyd ganddo. Y cyfryw Io. 3. 33.
gyhoeddiadau (er mwyn eu bod yn siccrach i'w Io. 6. 35, 37, 64, 65.
hanfon i'r oesau ar ol) a roddwyd oll yn ysgrifenneddig gan ei *apostolion* a'i *efangylwyr* sanctaidd ef cyn eu marwolaeth.

*Gof.* Os ffydd *yng Ngbrist* yw coelio ei air ef, angenrhaid yw ei wrando a'i dderbyn, yr hwn air gan ei fod wedi ei ddanfon oddi wrth Dduw, derbyn yr hwn yw derbyn *gair Duw*; a'i gredu wrth athrawiaeth *Crist* yw derbyn ei *dystiolaeth ef*. Ond pa fodd y mae'r ddau ymadroddion eraill o *dderbyn Crist* a *dyfod at Grist* yn amlygu'r ffydd y maent yn ei gyfrif wrth gred yn ei air ef?

*At.* *Derbyniad* sydd yn arwyddoccau amryw bethau, fel y cymmhwysir at amryw achosion, megis gwr yn derbyn gwr arall i'w dŷ; llywydd yn derbyn deiliad; cyfaill yn derbyn cyfaill. Eithr prophwyd a dysgawdwr yw'r enwau y mae *Crist* yn myned wrthynt, trwy y rhai y mae efe yn gofyn cred iddo pan dderbynio ef y ffyddloniaid, neu pan *gredont hwy i'w athrawiaeth a'i ddyfodiad ef*. Ac o herwydd i'r rhai a gredasant iddo ddyfod atto ef yn gorphorol i'w dysgu ganddo, megis rhai yn chwennych ei ddilyn ef: felly yr oedd y gred hon tuag atto ef, wrth feddwl llythyrennol, yn *ddyfodiad atto*.

*Gof.* A ydyw ffydd *yng Ngbrist* yn arwyddoccau credu rhyw beth ynghylch *Crist*?

*At.* Ydyw, a hynny hefyd yn ddigon i beri i ni ymddiried wrtho ef. Y *cythreuliaid* yn wir a wyddant ac a gredant yr holl wirionedd a gyhoeddwyd am *Grist*, etto fe a ddywed *S. Iago* fod arnynt eisiau'r iawn ffydd, o ran ni wnant ond
Ia. 2. 19. *crynu* yn unig, heb ganddynt y gobaith lleiaf am leshaad.

*Gof.* Pa beth yr ydym ni i'w gredu yn neillduol am *Grist*?

*At.* Nid credu yn gyffredinol mai efe yw *Mab Duw*, am broffesu yr hyn y cafodd *S. Pedr* ei
Mat. 16. 16, 17. gyhoeddi yn *fendigedig*, eithr hefyd yn neillduol, gan gredu *farw o hono ef am ein pechodau ni* i'n cymmodi â Duw, wrth yr hyn yn enwedig
Rhuf. 3. 25. y gelwir hi yn *ffydd yn ei waed ef*, a *chyfodi o hono*

ef

*ef o'feirw*, yr hyn, *pwy bynnag a gredo yn ei galon*, Rhuf. 10.
*a fydd gadwedig*. Ai fod ef wedi esgyn i'r nef, ac 9.
wedi eistedd ar ddeheulaw Dduw, i eirioli a chyfryngu trosom ni, hyd oni ddel efe drachefn i farnu'r byd â thragywyddol wobr neu gosp i bob un yn ol ei fuchedd.

*Gof*. Mysi a welaf mai ffydd *yng Nghrist* yw credu o honom yr efengyl a'i chynnhwysiad mewn perthynas i Dduw, i ni ein hunain, neu fyd arall, yn ol athrawiaeth *Crist*; a chredu yn bennodol yr hyn y mae efe yn ei fynegi am dano ei hun a'i hanfod yn *Grist* a Mab Duw, ac y dychwel efe drachefn i farnu'r byd, fel y dywedir yn y *credo*. Ac mai er mwyn ei farwolaeth ef i ddiddymmu pechodau'r byd, y cymmodir Duw a phechaduriaid ar eu gwir edifeirwch?

*At*. Dyna'r wir ffydd *yng Nghrist*, ac o herwydd proffes i'r ffydd yma y derbyniai'r *apostolion* eu *disgyblion*. *S. Pedr* yn bedyddio'r *teirmil bynny a* Act. 2. 41.
*dderbynient y gair yn llawen* pan gyhoeddodd efe yr holl bethau hyn, a'r eglwys Gristianogol sydd yn derbyn i fedydd y cyfryw ac a broffesont *gredo'r apostolion*.

*Gof*. Pa beth sydd angenrhaid i wneuthur ffydd yn llesol i ni?

*At*. Bod iddi ein cyffroi gan weithredu ynom y cyfryw dueddiadau Duwiol ag a weddai i'r dynion a faent o'r greduniaeth hon.

*Gof*. Pa fodd y cyffroir ni?

*At*. Hynny a ymddengys oreu wrth redeg dros rai o'r prif rannau yr ydym ni yn eu credu ar air *Crist*, ac sydd i ddwyn ffrwyth ynom.

*Gof*. Yr ydym yn credu fod *Duw yn Dad i ni*, yr hwn a'n gwnaeth, ac sydd etto yn ein cynnal, ac yn darparu i ni o'i dadol ragluniaeth a'i dynerwch. Pa fodd y bydd i hynny ein cyffroi ni?

*At*. Trwy gariad, anrhydedd, ac ufudd-dod.
*Os ydwyf fi dad, pa le y mae fy anrhydedd?* Mal. 1. 6.

*Gof.* Yr ydym yn credu ei fod ef yn annherfynol mewn barn, ac yn hollalluog ei nerth, cyflym a pharod i roddi pa beth bynnag ar sydd ddymunol i'r sawl a'i hofno, ac i anfon yr hyn sydd ofnadwy i'r rhai oll a'i cythruddant ef. Pa beth a ddylai hyn beri ynom ?

*At.* Parch a Duwiol ofn. *Ofnwch ef yr hwn wedi y darffo iddo ladd, sydd ac awdurdod ganddo i fwrw i uffern, ïe meddaf, hwnnw a ofnwch.*

*Gof.* Yr ydym yn credu ei fod ef yn berffaith gyfiawn, yn sanctaidd, yn uniawn-farn, yn ffyddlon, trugarog ac amyneddgar; ac i'w foddio yn unig â'r cynneddfau hynny. Pa gyffroad a bair y greduniaeth hon ynom ?

*At.* Ymdrefnu yn sanctaidd a chyfiawn megis yntef, fel y bom gyffelyb iddo ef, ac y caffom
1 Io. 2. 29. ffafr yn ei olwg. *Os gwyddom ei fod ef yn gyfiawn, nyni a wyddom fod pob un sydd yn gwneuthur cyfiawnder wedi ei eni o hono ef.*

*Gof.* Yr ydym yn credu ei fod ef drwy ei ragluniaeth yn peri pob damweiniau. Pa beth a ddylem ni wneuthur wrth y gred hon ?

*At.* Bod yn fodlon dan bob damweiniau, a
Sal. 39. 9. dywedyd gyd â'r *Salmydd, nid agorais fy ngenau,*
*o herwydd ti a'i gwnaethost.* Neu fel yr hen *Eli,*
1 Sam. 3. *yr Arglwydd yw efe, gwnaed a fyddo da yn ei olwg.*
18. *Gof.* Yr ydym yn credu na bydd i'r rhaglun-
Heb. 13. iaeth hon *ymwrthod â'r rhai a ofnant Dduw*; ac y
5. gwna efe i bob *drygau* a ddigwydd iddynt yma
Rhuf. 8. *weithio er eu daioni*; y bydd *i ddymuniad y cyfiawn*
28. *gael ei ganiattau; na fydd arnynt eisiau dim da*;
Diha. 10. ac y bydd *pan geisiont yn gyntaf deyrnas Dduw*, mai
24. Sal. 34. *pob peth arall a roddir iddynt* heb fod o honynt yn
10. ymofyngar yn ei gylch. Pa beth a ddisgwylir
Mat. 6. gan y rhai a font yn proffesu hyn ?
33, 34. *At.* Ar iddynt *ymddiried yn y Duw byw*; gadael
1 Tim. 6. 17. heibio bob ynfyd *ddeisyfiadau a myfyrdodau* am
Mat. 6. bethau oddi allan. Na bont *ofalus am ddim*, ond
25, 31, 34. gwneud

gwneud eu cyflwr yn adnabyddus i Dduw; *bwrw* Phil. 4. 6.
*eu holl ofalon arno ef, yr hwn a ofala trostynt hwy.* 1 Ped. 5. 7.

*Gof.* Yr ydym yn credu na anghofia efe mo'i air, er i'r cyflawniad fod yn hwyr, eithr mewn amser cyfaddas, efe a'i dwg i ben. Pa beth a ddylai hyn weithredu ynom?

*At.* Amynedd a gobaith ddiysgog: canys rhaid i bawb wrth amynedd, *fel wedi i chwi wneuthur* Heb. 10.
*ewyllys Duw, y derbynioch yr addewid.* Arfer Duw 36, 37.
dros ryw hyd, yw profi dynion cyn cyflawni yr addewidion.

*Gof.* Yr ydym yn credu ei fod ef mewn gallu i gyflawni pan fo anghyffelyppaf ac ammheuaf; ac *nad oes dim yn ammhosibl gyd â Duw,* gan hynny Luc 1. 37.
efe a'i gwna. Pa beth a ddylai'r ffrwyth o hyn fod?

*At.* Ffydd gadarn ynom, a hyder ddiysgog yn ei addewid ef: y cyfryw ag oedd gan *Abraham* am gael plentyn pan oedd efe a'i *wraig* dros Rhuf. 4.
oedran planta; ac am gael *aneirif hiliogaeth* drwy 20, 21.
yr hwn yr oedd efe, wrth orchymmyn Duw, yn Heb. 11.
*barod i'w ladd.* 19.

*Gof.* Yr ydym yn credu mai er mwyn *Crist* y dyry Duw ddaioni i'r rhai ai gofynant ganddo; ac mai os *gofynant y rhoddir iddynt.* Pa beth a ddylai ddilyn y tyb hwn?

*At.* Gweddi a duwiolfryd, fel pa un bynnag ai ysprydol ai amserol fendithion a fai ar ddyn eisiau, y bo iddo eu gofyn trwy *Iesu Grist,* trefnwr pob daioni.

*Gof.* Yr ydym yn credu mai *Iesu* yw Mab Duw a'r *Crist* oedd i ddyfod i'r byd. Pa beth a wnai ddyn a fai o'r meddwl hwnnw?

*At.* Ymddiried ynddo ef a'i addoli, ac ufuddhau iddo, megis yn arwydd hynod o'n gostyngeiddrwydd, a goglud ynddo ef.

*Gof.* Yr ydym yn credu fod yr unrhyw *Iesu* yn Arglwydd i ni. Pa beth a ddylai'r neb a gredai hyn wneuthur?

*At.* Cadw ei orchymmynion, a dal sulw ar ei
Luc 6.46. ordinhadau: *Pabam yr ydych yn sy ngalw i Arglwydd Arglwydd, ac nad ydych yn gwneuthur yr hyn yr wysi yn ei ddywedyd?*

*Gof.* Yr ydym yn credu ddyfod *Iesu* o'r nef er cariad arnom ni, gan ein hail edfryd i ffafr Dduw a thragywyddol happusrwydd. Pa beth a wnai ddyn synhwyrol a gredai'r pethau hyn?

*At.* Ei garu ef yn dra anwyl, yr hwn felly a'n carodd ni; a diolch iddo bob amser am wneuthur a dioddef cymmaint er ein mwyn.

*Gof.* Yr ydym yn credu nad oedd yr achos o'r fath farwolaeth ar y groes o ran dim ar a wnaethai efe ei hun, eithr yn unig am ein pechodau ni, y rhai yn y diwedd a'n dygant i farwolaeth dragywyddol, onid edifarhawn am danynt. Pa beth a ddisgwylir gan y rhai sy ganddynt y broffes hon?

*At.* Casineb digymmod i bechod, ac edifarhaad heb bechu mwy, rhag iddynt o'r diwedd ddyfod i'w deimlo yn annioddefus, a hynny hefyd heb y gobaith lleiaf am gynnorthwy ynddynt eu hunain.
Rhuf. 6. Rhaid i ni *farw i bechod* o herwydd i *Grist farw*
6, 8, 11. *am dano.* Ac os ydym yn credu ei farw ef trosom ni, ei gariad ef a'n perygl ninnau a'n cymmhell-
2 Cor. 5. ant i *fyw, nid i ni ein hunain, ond i'r hwn a fu*
14, 15. *farw trosom.*

*Gof.* Yr ydym yn credu ei fod ef yr awrhon yn y nef ar ddeheulaw Dduw, i gyflwyno ein gweddiau ac i gyfryngu trosom, ac i drefnu pa beth bynnag a weddiom am dano. Pa beth a ddylai hyn wneuthur i ni?

*At.* Gwneuthur i ni edrych yn fynych tuag atto ef mewn ymddiried am noddfa, ac ymgais â Duw trwyddo ef, a llawn hyder tan ein holl
Heb. 4. gystuddiau. *Gan fod wrth hynny i ni Arch offeiriad*
14, 16. *mawr,*

*mawr, yr hwn a aeth i'r nefoedd, awn yn hyderus at orseddfaingc y gras.*

*Gof.* Yr ydym yn credu mai megis trwy ei farwolaeth i'n prynodd, felly yr awrhon ei fod ef yn y nef yn trefnu ac yn parottoi anneddau o ddedwyddwch tragywyddol i'r eneidiau sanctaidd, y rhai trwy burdeb calon a buchedd dda, sy gymmwys i gyfrannu o honynt. Pa beth a wna ddyn o'r gred hon i fod yn gywir i'w dyb ei hunan?

*At.* Ei buro ei hun fel y gallo fod yn gymmwys i swynhau yr hyfrydwch nefol hwnnw. *Pob un sydd ganddo y gobaith hwn ynddo ef, sydd yn ei buro ei hun, megis y mae yntef yn bur.* 1 Io. 3. 3.

*Gof.* Yr ydym yn credu mai ar y *dydd diweddaf y barna Grist bob dyn yn ol ei weithredoedd*, gan wobrwyo y rhai a font yn wir edifeiriol, duwiol, gostyngedig, amyneddgar, cyfiawn, pur a heddychlon; a chan ddamnio y rhai font i'r gwrthwyneb. Pa beth a ddylai ddynion wneuthur wrth gredu'r pethau hyn? 2 Cor. 5. 10.

*At.* Gwasanaethu Duw a'i ofni, yr hwn a'u geilw hwynt i gyfrif, a bod yn *sobr a gwiliadwrus i weddio*; a bod yn *amyneddgar ym mhob peth*, na *fyddai mewn dyled ond o gariad i bob dyn*, a dilyn *heddwch tuag at bob dyn, a sancteiddrwydd*, heb yr hon *ni wel neb wyneb yr Arglwydd.* 1 Ped. 4. 5, 7. 1 Cor. 9. 25. Rhuf. 13. 8. Heb. 12. 14.

*Gof.* Yr ydym yn credu fod yr *Yspryd Glan* yn barod i gynnorthwyo pob gweithred dda, a phob dyn a wnelo'r goreu o'i gynnorthwy ef tuag at fod mor sanctaidd ac y mae Duw yn gofyn. Pa beth a wna y rhai a ddifrifol ystyriant y gred hon?

*At.* Ufuddhau i'w alwad, ac ymroddi gyd a'i gymmorth ef; a gochelyd gwneuthur un amser ddim ar a baro golli cyfaill mor ddaionus. *Bydded gennych*, sef arferwch *ras fel y gwasanaethoch Dduw wrth ei fodd ef; a gweithiwch allan eich iachawdwriaeth;* Heb. 12. 28. Philip. 2. 12, 13.

Ephes. 4. *iaeth; canys Duw yw'r hwn sydd yn gweithio ynoch.*
30. Ac *na thristewch lan Yspryd Duw.*

*Gof.* Yr ydym yn credu *cymmundeb y saint*, yr hyn sydd yn cynnwys ufudd-dod a gostyngeiddrwydd tan ein rheolwyr cyffredinol, ac yn enwedig y cymmundeb mewn gweddiau a sacramentau. Pa beth a ddisgwyliai Dduw neu ddyn gan y sawl a fai o'r gredyniaeth hon?

*At.* Cadw cymmundeb yr eglwys, a mynych gyrchu lle y mae'r saint hyn yn ymgyfarfod, gan uno â hwynt mewn pob dyledswyddau duwiol.

*Gof.* Felly'r pyngciau hyn, o'u hystyried, a weithredant ym mhob proffeswr didwyll, gariad Duw, ac anrhydedd, a duwiol ofn, ac a'u gwnant yn fodlongar ym mhob cyflwr, gan roddi ar Dduw'r ymddiried am bethau i ddyfod, a hyderu arno ef, ym mhob cyfyngderau, a dangos amynedd a hir barhaad ym mhob ymaros, a phuro eu calonnau a'u bucheddau; a'u trefnu yn gwbl gyfiawn, neu yn debyg i Dduw, a'u cadw eu hunain yn sanctaidd, yn ufudd, yn amyneddgar, yn uniawn ac yn heddychol, fel y bo eu cyfrifon yn fanteisiol iddynt ddydd y farn. Hynny a wna iddynt garu, anrhydeddu ac ufuddhau i'w Hiachawdwr *Grist*, a gwir edifarhau am eu holl bechodau, a gweddio, gan ymgynnull yn undeb yr eglwys a'r gynnulleidfa, a chynnorthwyo gras Duw mewn eraill, a chyd uno â hwynt mewn pob duwiol amcanion. Hyn oll ydynt sylwedd y rhannau a grybwyllwyd am danynt.

*At.* Lle y credir y pyngciau hynny, dyna'r ffrwythau a ddisgwylir oddi wrthynt, canys y rhinweddau hyn ydynt ddilynol wrth naturiaeth lle y bo ffydd, yn ol tystiolaeth yr ysgrythyrau.

*Gof.* Ac fel y gwelir yn y rhai hyn, felly, mae yn debygol, yr arweinir ni gan bob pwynt arall o

gredyniaeth

greduniaeth ag ymarfer gyfattebol, hynny yw, i weithredu fel y bom yn credu.

*At.* Ie, eithr y mae hynny a ddangoswyd o honynt yn ddigon i ddangos fod pob pwngc o greduniaeth yn gofyn gweithrediad gyfattebol cyn y bo'r ffydd yn gyflawn.

*Gof.* Ond er bod pawb o honom yn proffesu yr holl reolau hyn, etto ni chyffroir ond ychydig i wneuthur arfer gyfattebol o honynt?

*At.* Rhy wir ysywaeth! Ond y maent yn anresymmol iawn, gan eu bod yn erbyn eu cred eu hunain. Canys os bydd i ddyn gred o'r pethau hyn, nid eill tueddiad naturiol lai nâ chyffroi ei reswm a'i arwain mewn ufudd-dod. Y cyfryw ffrwythau sy o'r cyfryw ffydd. Ond pan fai ddynion yn gweithredu yn erbyn rheswm gan eu hanghofio eu hunain, neu er boddio rhyw drachwant anghyfreithlon, yn erbyn eu cred eu hunain, ni wiw disgwyl ffrwythau da o'r ffydd honno.

*Gof.* Os ydyw ffydd yn tra mor doraethog a'i bod yn arwain y grasau eraill i mewn, er nad yw ond un gwreiddyn, mae yn rhaid iddi (o ran ffrwyth a lleshaad) fod yn amryw rinweddau?

*At.* Felly y mae. Canys ffydd pan fyddo mewn perthynas i orchymmynion Duw, a bair *ufudd-dod*, pan gredir bygythion hi a bair *arswyd*; pan gredir addewidion Duw, hi a bair *obaith*; pan, drwy ffydd, y gofynir addewidion gan Dduw, hi a bair *dduwiol-fryd*; credu drwy hir ddisgwyliad a bair *amynedd*, pan, drwy ffydd y derbynir rhoddion Duw, hi a bair *ddiolchgarwch*; pan gredir i ragluniaeth, hi a bair *fodlondeb*; pan gredir fod ynom bechod, hi a bair *edifeirwch*; pan gredir i wobrau nefol, hi a bair *burdeb*; pan gredir barn ddiweddaf, hi a bair *ddiniweidrwydd*; pan gredir i leshaad perffeithrwydd, hi a bair *sancteiddrwydd*; cred yng Nghrist a'i gyfreithiau a bair

bair *gadw 'r gorchymmynion*; cred yn yr Yspryd Glan a'i gynnorthwy a bair *dduwiol ofal*; cred i gymmundeb y sainct a bair *gadw undeb yr eglwys, a'r ordinhadau cyffredin.* Felly, yr un gwreiddyn hwn, sef ffydd (yn ol yr achosion) sydd yn attebol i bob dyledswyddau. Dywedir hefyd am
Ephes. 6. 16. ffydd *i ddiffodd piccellau tanllyd y fall*, ffydd *i*
1 Io. 5. 4. *orchfygu'r byd*; a ffydd *i buro'r calonnau.* Ffydd
Act. 15. 9. yw gwreiddyn pob gweithred gyfiawn, yr hon
Rhuf. 4. gan hynny a elwir yn ufudd-dod, neu *ffydd o*
11, 13. *gyfiawnder.* A gweithredoedd da y gwyr cyfiawn-
Heb. 11. ion hynny *Noa*, *Abraham*, *Moses* a *Daniel* a berffeithiwyd drwy ffydd.

*Gof.* Ai oddi wrth y rhinweddau perthynol iddi y mae ffydd wedi ei harddu â'r cyfryw uchelfreintiau, a bod yr un addewidion iddi hi ei hunan, ag sy'n ddyledus iddi ynghyd â'r grasau eraill?

*At.* Ie, y cyfryw ag a'n gwna *yn blant i Dduw*,
Gal. 3. 26. ac i *aros yn y Mab, ac yn y Tad*; a chennym *Grist*
1 Io. 2. 24. *yn aros ynom:* ei bod yn ein *cyfiawnhau ni*; yn
Ephes. 3. 17. ein *gwneuthur yn gyfiawn*; yn ynnill i ni *faddeuant*
Rhuf. 5. 1. *pechodau*, ac yn *ein hachub ni.* Yr hyn oll, er ei
Rhuf. 10. 10. bod yn gofyn edifeirwch ac ufudd-dod yn y
lleoedd a grybwyllwyd, a gyfrifir yn ffydd, o her-
Rhuf. 3. 25. wydd fel y bo'r odfa yn gwasanaethu, ac achosion
Io. 5. 24. yn peri, y maent yn deilliaw o honi hi.

*Gof.* Chwi a ddangosasoch pa beth yw'r iawn gyffroad, yr hyn a weithredir ynom gan ffydd, lle yr ydwyf yn canfod mai ffydd a'i ffrwythau, neu ffydd ac edifeirwch, sydd yn achub eneidiau dynion. Ai nid all ffydd ein hachub na'n cyfiawnhau, nes y cyffroir ni yn y modd hyn ganddi, ac i ni weithredu yn gystal a chredu?

*At.* Nag all: heb hyn, ni bu iddi achub y *gwyr da yn yr hen amseroedd*, ac ni echub ninnau yn yr oes hon.

*Gof.* Y gwyr da yn yr *hen destament*, o flaen ac ar ol y *diluw*, a gyfrifwyd yn *gyfiawn*, ac a achubwyd drwy ffydd. A fu raid iddynt hwythau weithredu yn gystal a chredu?

*At.* Do: Canys *Noa a aeth yn etifedd cyfiawnder drwy ffydd*, gan gredu, ynghanol cenhedlaeth bechadurus a diofal, y deuai'r diluw dros yr holl ddaear. Eithr hynny a ddigwyddodd o waith iddo ef gyffroi, a gweithredu megis un yn coelio hynny, neu *wedi ei gynnhyrfu gan ofn a barottodd yr arch wrth orchymmyn Duw, i achub ei deulu:* drwy ba ofn a darpariad yr arch, *efe a gondemniodd y byd, ac a wnaed yn etifedd y cyfiawnder sydd o ffydd.* A *Moses* drachefn oedd gymmeradwy am gredu fod yr *Israeliaid* truain, y rhai oeddynt y pryd hwnnw yn gaethweision gorthrymmedig yn yr *Aipht* (er hynny) yn bobl i Dduw. Ond grymmiant y ffydd oedd, *efe a wrthododd ei alw yn fab i ferch Pharao*, yr anrhydedd mwyaf yn yr *Aipht*, gan ddewis yn hyttrach ymneillduo a dwyn cystudd gyd â'i *frodyr*. Fe ymmhellach, wrth orchymmyn Duw, ac o wir hyder ar ei bresennoldeb ef gyd â hwynt, a *ymadawodd â'r Aipht, heb ofni digio'r brenin*, yr hwn, fel y gellid meddwl, a gyffroid i eithaf digofaint, o achos colli cymmaint o bobl weithgar. Ffydd *Moses* a gyhoeddwyd am gredu y byddai i Dduw fyned heibio i holl dai yr *Israeliaid*, wrth anfon i *ladd pob cyntaf-anedig o'r Aiphtiaid.* Ond ei gyffroad ef yn hyn, oedd mai drwy'r ffydd honno yr ufuddhaodd efe i Dduw, gan *gadw'r pasg, a thaenellu'r gwaed ar gappan y drws, ac ar y ddau ystlys-bost*, yr hyn a wnaethai Dduw yn ammod ac yn arwydd o'u cadwraeth hwynt. Mae clod i *Moses* hefyd am gredu addewidion Duw i *rannu'r dyfroedd yn y mor coch*; a gwneud iddynt sefyll megis mur o bob-tu hyd tan nad aethant hwy trosodd. Ond rhinwedd y gred honno oedd, iddo

Heb. 11. 7.
Ad. 24, 25, 26, 27.
Ecs. 12. 22, 23.
Ecs. 14. 16.

iddo ef fyned o flaen y bobl rhwng y mynyddoedd hynny o ddyfroedd, *gan fyned trwodd megis ar dir
Ecs. 14. 29. *sych*; fel yr oedd Duw yn eu cyfarwyddo hwynt. A *Rahab* y buttein-wraig a *gadwyd* medd *S. Paul*, eithr a *gyfiawnhawyd* medd *S. Iago*, am gredu fod
Josh. 2. 9, 10, 11. *Duw Israel* yn *gadarnach na'r holl dduwiau*; ac iddo roddi *Jerico i'r Israeliaid*: Eithr ei chyffroad hi oedd, pan drodd at yr ochr yr oedd Duw o'u tu;
Ia. 2. 25. a Heb. 11. 31. *gan guddio'r yspiwyr, a'u hanfon hwynt ymaith medwn heddwch*. Ac *Abraham* tra bu efe ym *Mesopotamia*, oedd gymmeradwy am gredu y *byddai*
Act. 7. 2. Gen. 12. 1, 2. *i Dduw roddi iddo wlad arall*, yr hon a'i cynnyddai ef yn *genedl fawr*. Eithr rhinwedd y gred
Heb. 11. 8. hon oedd pan wrth orchymmyn Duw, *yr ymadawodd â'i wlad ei hun, ac yr ufuddhaodd efe i grwydro heb wybod i ba le yr oedd yn myned*, gan chwilio am y drigfan a'r etifeddiaeth a addawsai Dduw iddo. Eithr efe a gyfiawnhawyd yn enwedig am iddo gredu pan addawodd Duw *wneuthur Isaac ei fab yn aneirif a bendigedig bobl*. Ond hyn oedd o ran cadernid y ffydd ni rusai efe ddim,
Heb. 11. 17—19. ond wrth orchymmyn Duw a'i *hoffrymmodd ef pan ei profwyd gyntaf, gan gredu fod Duw yn abl i'w gyfodi ef* yn oed *oddi wrth y meirw*, i wirio'r addewid hon ynddo ef. Felly gan *offrymmu o*
Ia. 2. 21, 23. *hono Isaac* yngwroliaeth y ffydd hon, *efe a gyflawnodd yr ysgrythur sydd yn dywedyd, Abraham a gredodd i Dduw, a chyfrifwyd hyn iddo yn gyfiawnder*.

*Gof*. Y mae yn amlwg wrth hyn, mai ffydd (pan iawn gyffroid) oedd yr unig beth a gyfrifai Dduw yn gyfiawnhaad i'r gwyr sanctaidd hynny. Yr oeddynt yn gyfiawn trwy ffydd, eithr nid pan fyddai ffydd yn greduniaeth segur, ond pan gyffroent a gweithredu. Pa beth ychwaneg sydd i'w roddi er dangos y cyfryw am danom ni *Gristianogion*?

*At*.

*At.* Y ffydd a wna les i ni, yw yr hon a gy-
ffroo ein calonnau, gan adnewyddu'r cwbl o'n
mewn. Mae yn rhaid iddi gynnwys *gobaith ac*
*ymddiried* yn Nuw: ffydd y *cythreuliaid* a wrth- Ia. 2. 19.
odwyd, o herwydd nas gwnant hwy ond credu
yn unig wrth *air Duw*, heb y gobaith lleiaf am
leshaad. Rhaid iddi ddwyn allan *gariad*, yr hwn,
medd *S. Paul*, sydd yn cyflawni *cyfraith yr holl orch-* Rhuf. 13.
*ymynion*, ac yn arwain i bob dyledswydd arall: canys 10.
*cariad o galon bur yw diwedd y gorchymmyn.* Ffydd 1 Tim. 1.
yr hon *yn llesshau i obaith o gyfiawnder, yw'r ffydd* 5.
*yr hon sydd yn gweithredu trwy gariad.* Ethr y Gal. 5. 5,
cwbl oll yw, *glanhau'r galon*, o ba le medd ein 6.
*Hiachawdwr*, y mae pob drwg yn dyfod; arloesi
allan *yr hen ddyn* o falchder, digofaint, cas, try-
thyllwch, a'r cyffelyb: a phlannu yn ei le y *dyn*
*newydd* o dymmer ufudd a duwiol, pur a rhin-
weddol: *puro'r galon* medd *S. Pedr*; adnewyddu Act. 15. 9.
ein harferion hefyd. *Y rhai ydoedd a gredasant yn ddilys,*
*a ddrwgasant yr Angelion*, medd *S. Luc.* Y ffydd 1 Ped. 22,
*sydd yn llesshau, sydd yn gweithio trwy gariad*, medd 23.
*S. Paul.* Y mae hon yn *gorchfygu'r byd*, medd Act. 11.
*S. Ioan.* Hi a'n gwna yn *rhyddion oddi wrth* 21.
*bechod*, medd ein *Hiachawdwr.* Rhaid iddi ein Gal. 5. 6.
harwain at weithredoedd da, fel y gwnaeth hi ag 1 Io. 5. 4.
*Abraham* yn *ymado â'i wlad*; ag yn *aberthu ei fab.* Io. 8. 32.
Ac fel y bu i *Rahab dderbyn yr yspiwyr.* Ffydd Heb. 11.
a gweithred yw'r unig ffydd ag sydd a bywyd 8.
iddi, canys *ffydd heb weithredoedd, marwol yw.* Ia. 2. 21,
*Fel mai marwol yw'r corph heb yr yspryd, felly* 22.
*marwol yw ffydd heb weithredoedd.* Hon yw'r Ad. 25.
unig ffydd yn llesshau, ac yn cyfiawnhau. *Os* Ia. 2. 20.
*dangys dyn ffydd heb weithredoedd, a ddichon ffydd* Ad. 26.
*ei achub ef? Abraham a gyfiawnhawyd drwy weith-* Ad. 14.
*redoedd; a Rahab a gyfiawnhawyd drwy weithred-* Ad. 21.
*oedd. Chwi a welwch gan hynny mai drwy weith-* Ad. 25.
*redoedd y cyfiawnheir dyn, ac nid drwy ffydd yn*
*unig.* Ad. 24.

*Gof.* Os nad oes gyfiawnhaad drwy unrhyw ffydd ond a adnewyddo 'r galon a'r ymarferion, ni fydd i'r pwynt hwn wrthwynebu ffydd ac ufudd-dod ddim hwy, eithr cymmerwn ofal i ficcrhau pob un: fel y dywed *S. Paul*, mai *ffydd weithredol*; neu medd *S. Iago*, *ffydd a gweithredoedd yngbyd*, honno a'n cyfiawnha ni?

*At.* Gwirionedd yw.

*Gof.* Eithr ai nid ydyw *S. Paul* yn fon am *gyfiawnhaad drwy ffydd heb weithredoedd y gyfraith?*

*At.* Ydyw, ond y gweithredoedd hyn oeddynt weithredoedd *cyfraith yr Iuddewon*, megis y rhai hynottaf o honynt, fef *enwaediad*, *aberthau*, *gwyliau*, *a rhagoriaeth mewn bwydydd glan ac aflan:* A rhai gwyr o ferch ar *Moses*, a fynnent i'r *cenhedloedd* dychweledig gadw y gweithredoedd hyn-
Act. 15. 1. ny mewn amryw eglwyfydd, gan ddywedyd, *onid enwaedir chwi yn ol defod Moses, nid ellwch fod yn gadwedig.* A phan fafai rai eraill i fynu yn *Rhufain* gan gymmell yr un angenrhaid gyfiawnhaad yno hefyd, *S. Paul* a'u gwrthwynebai, gan ddywedyd wrthynt na cheisient ymgyfiawnhau megis *Iuddewon*, ond megis *Cristianogion:* Felly y rhai y mae efe yn eu bwrw ymaith, ydynt, weithredoedd *cyfraith Moses*, neu pa rai bynnag eraill dan y *cyfryw gynneddfau*, *yr hyn a fynnai'r Iuddewon daer wthio a chyhoeddi am gyfiawnhaad.*

*Gof.* Pa bethau yw y rhai hynny?

*At.* Maent yn gofod i fynu fath ar *gnawdol gyfiawnhaad mewn gweithredoedd oddi allan*, neu mewn *dynol farn*, lle y maent yn barnu yn unig wrth y golwg. Cyfraith *Moses* oedd am eu *cyfoeth cyffredin*, trofeddiad yr hon a fernid yn eu *llyfoedd* eu hunain. Yr oeddynt hwy yn gyfiawn yn ol eu cyfraith eu hunain, o herwydd nad allai neb arall mo'u cyhoeddi. Yr un amcan o gyfiawnhaad *gyfreithlon* o ran gweithrediad, oedd ardderchog

chog ym mhlith eu (*a*) *doctoriaid*. A *Iosephus*, *Iuddew* dysgedig, yr hwn oedd hynod yn nyddiau yr *apostolion*, sydd yn gwirio hynny wrth son am *gyssegr-yspail*, gan ryfeddu wrth (*b*) *Polybius ysgrifenydd clodfawr arall*, pan ddywedai ynghylch dialedd Duw ar *Antiochus Epiphanes*, o herwydd iddo yn unig fwriadu *yspeilio'r deml yn Elymais*: lle y dywedai *Polybius*. "*Os bu i Antiochus yn unig ond* "*bwriadu'r weithred, heb ei gwneuthur i ben, nid* "*oedd yn haeddu cospedigaeth.*" Megis pe'i dywedasai nad oedd bwriad oddi fewn ond dirgel, eithr y weithred oddi allan a fuasai gyhoeddus. Ac lle y mae *S. Paul* yn crybwyll am *gyfiawnder yr Iuddewon*, efe a'i geilw yn *gyfiawnhaad* neu *gyfiawnder gweithredoedd*, fel pethau a ddygpwyd i gynnefindod gweithred ac arfer. A chan eu pwyso eu hunain wrth weithredoedd oddi allan, hwy a fernid yn ddifai: Megis y *gwr ieuangc yn yr efengyl*, pan holodd ein *Iachawdwr* ef am y *gorchymmynion*: *hyn oll*, medd efe, *a gedwais o'm hieuengctid*. Ac fel y gwnaeth *S. Paul* wrth adrodd ei *hyder Iuddewig*, gan ddywedyd mai *ynghylch cyfiawnder y gyfraith*, ei fod ef yn *ddieuog*.

Rhuf. 4. 2, 6. Pen. 9. 31, 32. Gal. 2. 16. Mat. 19. 18—20. Phil. 3. 6.

*Gof*. Ai nid oedd yn y *gyfraith Iuddewig* ryw bethau yn cyrrhaeddyd *calonnau* ac *ysprydoedd dynion*, yn enwedig y *degfed gorchymmyn*, gan wahardd chwennychu eiddo ein cymmydogion?

*At*. Oedd, ond y pethau hyn a'r gosp am eu troseddu, oeddynt o fewn eu llysoedd hwynt, yn llwyr ddi gyfrif: neu os cymmerent hwy yn gyfreithiau, eu troseddiadau a lanheid ag aberthau, yr hyn, medd *S. Paul*, *oedd i buro'r cnawd*, neu i'w difeio o flaen dynion, o ran manteision bydol, eithr nid o flaen Duw, nac o ran cydwybod.

*Gof*. Pa gynneddfau eraill a ddyrchefid gan yr *Iuddewon* lle yr oeddynt yn ymddiried am *gyfiawnhaad*?



(*a*) *Vide* GROTIUS on Matt. 5. 20. (*b*) *Antiq*. l. 12. c. 13.

*At.* Eu *baeddiant:* o herwydd eu bod yn gosod y fath *gyfiawnder* o falchder ac ymffrost, ag sydd yn gofyn gwobr iddynt mewn fordd o ymgystadliad: nid gan fodloni i'r ynnill heb yr anrhydedd.

*Gof.* Ar ba beth y medrent hwy sylfaenu hyn?

*At.* Ar ddwy-ryw sylfaen. Yn gyntaf (*a*), hwy a daerent eu bod hwy yn gweithredu wrth eu nerth eu hunain, gan hynny yn haeddu'r glod. Hwy a dybient eu bod yn gallu drwy rym *nattur*, heb y *gras bywiol* hwnnw *oddi fewn*
2 Cor. 3. 6. ond *datguddiad oddi allan*, neu *lythyren farwol.* A'r gallu hwn a gyfrifant hwy oddi wrth *rydd-ewyllys*, fyth ar ol *cwymp Adda.* Canys y daioni a wnaethai *Adda* o flaen y cwymp oedd megis *cynnefindod* (*b*) *nattur*, ond ar ol bwytta o'r *pren gwybodaeth*, efe a'i hiliogaeth oeddynt yn gweithredu wrth *rydd ewyllys*, neu ar y cystal, rhwng da a drwg, meddant hwy, gan geisio dangos nad ydynt hwy i'w cymmell i wneuthur daioni, mwy na drygioni, oblegid eu *rhydd ewyllys naturiol.* Yn ail, eu dirfawr *uchelfraint*, a *baeddiant eu gweithredoedd*, trwy y rhai maent yn haeddu'r nef mewn modd o ymgystadliad, canys hwy a ddywedant fod (*c*) *happusrwydd gwobr yn llawer mwy ardderchog na thrugaredd.* Hwy, wrth hyn, a geisiant wobr am y *weithred* gan roddi *gras* o'r naill-du, ac a ymffrostiant. Amryw byngciau eraill oedd ganddynt, megis rhifedi eu *gweithredoedd da:* Canys *os gwnaent un yn rhagor o rai da nag*

(*a*) Israel vero persequens Justitiæ in Legem justitiæ non pervenit. Quare? quia non ex Fide, sed tanquam ex operibus: id est, tanquam eam per semetipsos operantes, non in se credentes operari Deum, *August. de Spiritu & Litera.* Tom. 3. *op.* p. 830. —— Judæi, quia suis viribus se putabant implere posse justitiam, offenderunt in Lapidem offensionis, &c. petram Scandali. *Id. enarrat.* in Ps. 30. Tom. 8. *op.* p. 163.— Edit. Froben.

(*b*) *See* Mr SMITH's Discourse on *Legal Righteousness*, c. 2.

(*c*) SMITH *ibid.*

*nag o rai drwg, yr attebai hynny am lawer o drafeddiadau, o herwydd fod y weithred honno ganddynt i fantoli.* Neu os cadwent un gorchymmyn o'r *mil chwe chant a thri âr ddeg* o wir ferch arno, ac nid o ran manteifion bydol, mai er iddynt efgeulufo'r lleill oll, fod hynny yn *gyfiawnhaad iddynt*, Neu pan nas meddent ddim arall i'w ddangos, hwy a ddywedent eu bod o *had Abraham:* Yr oedd hyn ganddynt yn *hyder*, am ba un y mae *S. Ioan fedyddiwr* yn eu ceryddu. Neu iddynt gael *enwaedu arnynt*, yna hwy a'u tybient eu hunain yn gwbl deilwng i haeddu'r *gwobrau i ddyfod.* Yr oeddynt hwy yn *haelionus* wrth ddibrifio *haelioni* Duw, a dyrchafu eu gweithredoedd eu hunain: A thra byddent yn prifio pob peth eu hunain, ni fyddent fyth yn ol o haeddiant i'r gwobrau mwyaf, i atteb i'w dihareb eu hunain, *y cai'r holl Ifraeliaid ran o ddedwyddwch yn y bydd oedd i ddyfod.*

*Gof.* Yr wyfi yn canfod mai eu gweithredoedd gorcheftol oddi allan yr oedd eu *doctoriaid* yn eu cyfiawnhau i'r *Iuddewon*; a chan eu bod wedi eu cwblhau o'u grym eu hunain, yr oeddynt yn difgwyl gwobrau am danynt.

*At.* Gwirionedd yw: ond yr oedd yn gyffro mawr iddynt glywed fon am *gyfiawnhaad* trwy fwyddau yr *efengyl*, yn cyrrhaeddyd, nid yn unig weithredoedd oddi allan, eithr y calonnau a'r yfprydoedd hefyd, yr hyn a gyflawnir trwy gymmorth gras Duw oddi fewn, ac a wobrwyir trwy haeddedigaethau *Crift*, a thrugarog dderbyniad Duw. A'u ffordd hwythau o haeddu derbyniad, yw, am eu gweithredoedd oddi allan yn ol rhinwedd rhydd-ewyllys a dynol allu, wrth eu theolaeth eu hunain, eithr yn anghymmeradwy gyd â Duw. *S. Paul* a'i geilw, *eu cyfiawnder eu hunain*, gan eu gwrthwynebu trwy gyfiawnder haeddedigaethau *Crift*, a derbyniad trugaredd Phil. 3. 9. Rhuf. 10. 3, 5, 6.

Dduw trwy ffydd ac ufudd-dod yn yr *efengyl*, wedi eu hysgrifennu trwy gymmorth gras Duw, yr hyn a eilw efe yn *gyfiawnder Duw*, a *chyfiawnder y ffydd*.

*Gof.* A ydyw yr *apostolion* yn eu dadl â'r *Iuddewon* am gyfiawnhaad, yn bwrw'r pyngciau hyn i lawr?

*At.* Ydynt, yn enwedig *S. Paul* yn *Rhufain* a
*Galatia*, a mannoedd eraill hefyd: gan gy-
Rhuf. 3. hoeddi 'r modd, mai *trwy weithredoedd y gyfraith*
20. *ni chyfiawnheir neb rhyw gnawd*, gan hynny *na*
Gal. 2. *bydd raid i'r cenhedloedd fyw fel yr Iuddewon*, ond
14—16. yn unig trwy *ffydd ac ufudd-dod yng Nghrist*: neu
Gal. 5. 6. *ffydd yn gweithredu trwy gariad*, ac mai felly y
bydd i'r *Iuddewon o anedigaeth*, fyw megis *Cristianogion*.
Yr ufudd-dod hwn a lesha pan fo'r
dyn oddi fewn, ynghyd â'r ymarfer oddi allan,
Rhuf. 12. mewn *adnewyddiad meddwl*, er *enwaediad y galon*
1, 2. *a'r yspryd, a chreadur newydd*; ei fod wedi ei
Rhuf. 2. weithio ynom ni, *nid trwy allu dynol, ond trwy*
28, 29.
Gal. 6. 15 *ras Duw, ac adnewyddiad yr Yspryd Glan*. A bod
Tit. 3. 5. yr *efengyl* trwy gynnyg y cyfryw ras oddi fewn,
2 Cor. 3. *yn weinidogaeth yr yspryd*, a *ministriad cyfiawnder*:
6—9. ond nad yw'r gyfraith, heb hyn, ond datcuddiad
oddi allan, *ministriad llythyren marwolaeth, a*
Gal. 3. *damnedigaeth*, yr hyn, gan weled *nas gallai roddi*
21, 22. *mor bywyd* oedd ddyledus, eithr cyfarwyddyd
Pen. 5. 5. oddi allan yn unig, gan hynny, nid ellid *disgwyl*
*cyfiawnder oddi wrthi*. Mai yr hyn a gyfrifir yn
gyfiawnder yn unig, sydd yn rhinwedd *y prynedigaeth
trwy Grist*, ac yn *baeddiant ei aberth ef*:
Rhuf. 4. gan *brynu pardwn ein pechodau*; a *derbyniad o'n*
6, 7, 8. *gwasanaeth i Grist yn ddiwedd y gyfraith am gyf-*
Pen. 3. *iawnder*; a ninnau wedi *ein cyfiawnhau trwy'r*
25.
Rhuf. 10. *ymwared sydd yn Iesu, gwaed yr hwn sydd yn Iawn*
4. *tros ein pechodau, yr hwn a wnaed i ni gan Dduw*
Pen. 3. *yn ymwared a chyfiawnhaad*. Y bydd i Dduw
24, 25. ein gwobrwyo ni trwyddo ef, nid o ran yr
1 Cor. 1.
30. *baeddiant*,

*haeddiant*, eithr o'i *ddaioni* a'i *freiniol ras* ef, tu allan, ac ym mhell tu hwnt i'r haeddiant. *Nyni a gyfiawnhawyd yn rhad trwy ei ras ef.* A chan hynny, fel y mae gras Duw yn ddyrchafadwy, felly holl *ffrost yr Iuddewon a roddir heibio.* Yn ddiweddaf, yn lle'r *farsiandiaeth Iuddewaidd*, gan bwyso'r da a'r drwg mewn gweithredoedd neu haeddedigaethau, dywedir i ni mai yr hwn a barhao *i drosedd mewn un pwngc*, a fydd mor euog o farn (er nad yw'r gosp cyn dosted) a'r hwn a fo yn euog *o'r cwbl*; ac y bydd i'r hwn a gadwo'r *cwbl*, er iddo wneuthur ei oreu, ddywedyd *na wnaeth efe ddim ychwaneg nâ'i ddyledswydd*, a'i *fod ef etto yn was anfuddiol.* Hyn oll, ynghyd ag amryw bethau eraill, os darllennir *ysgrythurau yr apostolion* yn ofalus, sy'n pwyntio yn erbyn y *traddodiadau Iuddewaidd* hynny.

Rhuf 3. 24. Eph. 2. 8, 9. Ia. 2. 10. Luc 17. 10.

*Gof.* Ai y rhai hyn ydynt y *gweithredoedd y gyfraith* y mae *S. Paul* yn eu gwrth-sefyll?

*At.* Ie yn wir.

*Gof.* Yr ydwyf yn gweled fod dadl yr *apostol* am *gyfiawnhaad* yn gadarn iawn yn erbyn yr *Iuddewon*?

*At.* Ydyw, canys eu cyfiawnhaad hwynt oedd *cyfraith Moses*: yr hon yr oeddynt yn ei dyrchafu megis yn rheol o ganiattaad cyfiawnder iddynt i'w perffeithio: eithr *hwy a dramgwyddasant*, medd efe, *wrth y maen tramgwydd hwnnw*; Hwy a gleimient gyfiawnhaad *yn rhinwedd a haeddiant eu gweithredoedd eu hunain, nid trwy ryglyddon aberth Crist*, a *gras Duw yn maddeu eu troseddiadau*: yr hyn a wnaeth i *S. Paul* gyhoeddi *i bawb a fynnent eu cyfiawnhaad wrth y gyfraith, na byddai Crist o ddim llesbaad iddynt; a'u bod wedi syrthio oddiwrth ras.*

Rhuf. 9. 31, 32. Gal. 5. 2, 4.

*Gof.* A ydyw yn eglur mai ynghylch y cyfryw weithredoedd *Iuddewig* y mae'r *apostol* yn son?

*At.* Ydyw: o herwydd y cyfryw bethau a osodwyd i fynu gan yr *Iuddewon*, yn erbyn pa rai yr oedd efe yn dadlu. Y mae efe yn dywedyd eu bod o'r cyfryw ac y byddai yn angenrhaid i bawb droi yn *Iuddewon*. Canys yn y modd hyn,
Rhuf. 3. 29. medd efe, *fe a fyddai Dduw yn Dduw'r Iuddewon yn unig, ac nid i'r cenhedloedd.* Ac heblaw hynny, y maent o'r cyfryw weithredoedd a'u bod yn
Eph. 2. 8, 9. wraidd i *ymffrost*, gan gyfrif gwobr *megis peth dyledus iddynt, heb ras* na rhwymedigaeth am dani,
Rhuf. 4. 4. *gan adael gras heibio*, megis peth nad yw yn
Rhuf. 11. 6. gweddu iddynt. Ac felly y credai'r *Iuddewon*, ac y dysgent eu gilydd, fod nef yn gyflog haeddedigol iddynt am weithredoedd, heb fod yn angenrhaid iddynt gael ymwared trwy *aberth Crist.*

*Gof.* Ai nid oedd *S. Paul*, er ei fod yn dal yn erbyn *gweithredoedd* yr *Iuddewon*, yn cadarnhau *gweithredoedd y ffydd Gristianogol?*

*At.* Oedd, yn yr un adnod ag y mae efe yn gwrthwynebu'r lleill, gan gyflawni yr hyn y mae efe yn ei osod arnom. A'r ffydd yr hon
Gal. 5.6. sydd yn *llesbau i gyfiawnder* sydd yn *ffydd weithredol.* Ac wrth son am y ffydd a gyfiawnhaodd y *gwyr sanctaidd* gynt, y mae yn craffu ar eu *cyffroad arferol* hwynt: Megis *sancteiddiol arswyd Noa, a'i ufudd-dod yn adeiladu'r arch*, er iddynt wawdio am eu ben ef; A *Moses yn gadael y mawr anrhydedd yn yr Aipht* i fyned at bobl erlidiedig; Ac *Abraham yn gadael ei wlad*, ac yn *aberthu ei fab wrth orchymmyn Duw*; A'r *hanesion* eraill a grybwyllwyd uchod.

*Gof.* Mysi a welaf mai *ffydd a gweithred hefyd*, oedd, ac sydd etto yn cynhyrchu dynion i Dduw: yr hon a eilw'r ysgrythur yn *ffydd*, ond ei chyflawn enw yw *ffydd ac edifeirwch?*

*At.* Felly y mae'r ysgrythur yn ei galw mewn rhai mannau, yn *ffydd ac edifeirwch*, o ran dangos pa beth yw *ffydd weithredol.*

*Gof.*

*Gof.* Ond gan nad yw pob ffydd yn cwblhau'r edifeirwch hwn, na phob gras yn tyfu ar un gwreiddyn mewn pob un a gredo: pa rai yw y *priodoliaethau* hynny a ddangosant y rhagoriaeth rhwng *ffydd ffrwythlawn* a *ffydd anffrwythlawn?*

*At.* Y mae y rhagoriaeth hwn yn *ddwy* rann, sef ei *difrifwch* a'i *chadernid.*

*Gof.* Pa beth a feddylir wrth *ddifrifwch* y ffydd hon?

*At.* Ei bod yn *ffydd ddiffuant.* Nid esgus ffydd, tan yr hon y gall y *di-gred* ymddangos ym mysg y *Cristianogion*, i gael ymddiried iddynt mewn swyddau, neu am eiddo: neu megis oddi allan, i'w dodi am danynt fel dilledyn, ac i'w thynnu pan fynnont, gan ei newid mor fynych ag y newidio'r ffasiwn. Eithr *cred ddinam oddifewn* yw'r *ffydd ddiffuant* y mae *S. Paul* yn ei chanmawl yn *Timotheus*, *ffydd ddiffuant*, allan o'r hon y llifeiria *cariad.* A'r ffydd, neu'r ddoethineb yr hon a wna ddynion yn *bur ac yn heddychlon*, sydd *heb ragrith.* Ond ni byddant byth yn gred-ddynion ffrwythlawn o ddilyn *Iesu* modd y gwnaeth yr *Iuddewon*, gan redeg i fewn gyd â'r dyrfa yn fwy o ran y *torthau* nag o ran *greduniaeth oddi fewn.* Rhaid iddi fod yn ffydd *galonnog* a *gwresog*, nid yn dyb segurllyd a di-ofal, megis yn credu rhyw bethau na byddai na chael na cholli wrthynt, eithr yn greduniaeth nerthol a bywiog, fel y bo i holl nerthoedd yr enaid fod yn deimladwy o honi. Rhaid i'n creduniaeth yn gyntaf reoli ein synhwyrau, a'n dyrchafu at *gariad*, *dymuniad*, *ofn*, *gofal*, *ymegniad*, ar cyfryw, yn ol rhagoriaeth nattur a gallu'r peth y b'om ni yn ei gredu. Y *gred sydd yn achub*, *yw cred o'r galon*, *yn gystal ag o'r pen:* A'r ffydd yr hon sydd yn *llesbau i gyfiawnder*, *sydd yn gweithio trwy gariad.* A chan hynny, nid ydynt, yn debyg i fod yn gred-ddynion ffyddlon, a'r sy'n darllain hanes

*Iesu* megis pe darllennent hanes yr *ymmerodr Cæsar*, neu ryw un (o ran-cyhyd yr amser, a'r pellder oddi wrthym) na fyddai mor achos i gyffroi o'i blegid. Y cyfryw rai diystyr o'u cred ydynt megis *chwedleuwyr Cristianogaidd*, y rhai ni wna eu ffydd iddynt amgen nâ'u gwneuthur yn siaradus.

*Gof*. Ai angenrhaid yw bod ffydd yn iachus ac yn ffyddlon, ac ynddi hefyd ran fawr o gadernid a sadrwydd?

*At*. Ie, oblegid y cyfryw ffydd a honno a wnaeth i *Abraham* a'r *gwyr sanctaidd* eraill, ufuddhau i Dduw, trwy yr hyn y derbyniwyd hwynt.
Rhuf. 4. 19, 20. Nid oedd *Abraham yn egwan eithr yn nerthol mewn ffydd, drwy'r hon y rhoes efe ogoniant i Dduw*. Y ffydd a'n gwnaeth ni yn gymmwys i rydd-did
Act. 8. 37. *Gristianogol* a bendithion y *bedydd*, yw *cred o'r holl galon*.

Os ffrwythydd a fethant eu ffynniant mewn ffydd,
Mae'n arwydd i'n weithian mai bechan y bydd.

Mat. 6. 28, 30. *Paham yr ydych yn gofalu, O chwi o ychydig ffydd?*
neu am nad oes ond ychydig, neu ddim bywyd
Pen. 8. 26. ynddi. Mae *ffydd mor farwol ag yw'r corph heb yr yspryd*, pan fo *ar ei phen ei hun*, ac heb ddim gwaith neu ffrwyth yn llifeirio o honi.

*Gof*. Yr ydwyfi yn dirnad fod y nerthoedd hyn mewn ffydd yn angenrhaid i'w chynnorthwyo i wneuthur ei gorchwyl, ac i orchfygu pob gwrthwynebiad. Eithr mewn pa beth y mae'r nerth hwn yn gynnwysedig?

*At*. Mewn tri pheth enwedigol. Yn *gyntaf*, rhaid iddi fod yn ffydd mewn *diogelwch* ac *ymddiried*. Yn *ail*, ei bod yn *gydwybodol*, neu yn aros mewn dyn a gadwo ei air o ran cydwybod. Ac yn *drydydd*, ei bod yn *ddianwadal*.

*Gof*. A raid i'r ffydd a ddichon ddangos y cynneddfau hyn, fod yn *ddiogel* a *byderus?*

*At*.

*At*. Rhaid: canys nid tyb anwadal a wna'r gwaith; Rhaid iddi wneuthur i ni ollwng heibio lawer o bethau llesol, a chroesawu llawer o bethau diles, ac anturio llawer o bethau diffygiol a phoenus: yr hyn ni wnai neb ond ar ddisgwyliad hyderus iawn. Gan hynny cred-ddynion perffaith a chymmeradwy a gynghorir i *nessau at Dduw â llawn hyder ffydd*, ac i *ddal cyffes eu gobaith yn ddiysgog*. Ac i *ddangos llawn sicrwydd gobaith hyd y diwedd*. Eithr hanner ffydd a wna gredadyn yn debyg i'r *brenin Agrippa*, megis yn hanner, neu yn *agos i fod yn Gristion*. Heb. 10. 22, 23. Heb. 6. 11. Act. 26. 28.

*Gof*. A raid iddi fod yn ffydd *gydwybodol?*

*At*. Rhaid: megis y mae hi yn cyfaddef athrawiaethau ac amcanion, felly y mae hi yn gofyn cyflawni yr addewidion cynnwysedig nid mewn gwybodaeth yn unig, eithr sefyll mewn ymddiried hefyd. Felly nid yw ffydd i fod yn gyfarwyddyd wael mewn creduniaeth yn unig, eithr mewn cydwybod hefyd, gan fod yn uniawn wrth ddosparthu meddiannau. Mae yn peri ufudd-dod mewn ymddygiad, gan gyflawni addewidion, ac atteb i bob uniawn ddisgwyliad. Ym mysg yr holl amryw *wrandawyr*, y *gair* a gredwyd a *ddygodd ffrwyth* yn unig *mewn calonnau hawddgar a da*. Ac i *nessau at Dduw â llawn hyder ffydd*, mae yn rhaid i ni uno â *chalon bur a chydwybod lan*. Ac yna'r cariad yr hwn y mae'r gyfraith yn ei ofyn, a ddylifa oddi wrth y cyfryw *ffydd ddiffuant*, pan fo hi yn un â *chalon bur a chydwybod dda*. A chan hynny nis dygodd hi *ffrwyth yn Simon Magus*, o herwydd *nad oedd ei galon ef yn union ger bron Duw*. Felly nid yw ryfeddod weled ffydd yn prisio yn ddi-ffrwyth mewn dyn twyllodrus anufudd, am nad ffydd yn unig, ond cydwybod hefyd, sydd angenrhaid i wneuthur dyn yn ofalus i gyflawni yr hyn a gymmerth ef arno: A dynion twyllodrus anghyfiawn Luc 8. 15. Heb. 10. 22. 1 Tim. 1. 5. Act. 8. 13, 21.

(byddant

(byddant hwy mor wastadiac a fynnont yn eu cred a'u dealltwriaeth) a fyddant mor debygol o dorri eu gair â Duw ac â'u cymmydogion.

*Gof.* A raid i ffydd hefyd ymroddi mewn *cwbl sicrwydd* ar ol ystyried, pan fo math ar wrthwyneb or rhwystr iddi, modd na bo i ni dramgwydd meddwl ynghylch ail ddechreu, drwy fyfyrio pa un ai ymlaen ai peidio?

*At.* Rhaid, oblegid heb yr ymroad hwn ni bydd dynion yn debygol o gadw'r llwybr mewn rhwystrau, pan font yn mynych gyfarfod iddynt ar eu gyrfa. Pob gwir gredadyn a fwria'r draul a'r boen ar ei ffordd ym mlaenllaw, megis y
Luc 14. 28, 31. dywed ein *Iachawdwr* am yr *adeiladwr doeth*, a'r *brenin yn myned i ryfel.* Rhaid iddynt sefyll mewn parodrwydd i redeg trwy bob peryglon, a bodloni i bob colledion, gan osod ffydd uwchlaw pob peth arall, ac ymroi i lynu wrthi yn erbyn pob profedigaethau a ddel i'w digalonni. A'r cyfryw ffyddloniaid tra hyderus â'r rhai hyn a elwir yn
Col. 1. 23. *rhai wedi eu selio, a'u siccrhau mewn ffydd*, a chwedi
Col. 2. 7. eu *gwreiddio a'u hadeiladu a'u cadarnhau ynddi.*
Mat. 13. 21. A'r *ffyddloniaid, neu dderbynwyr y gair*, y rhai a *rwystrwyd yn amser profedigaeth*, a ddywedir eu bod *heb ganddynt wraidd ynddynt eu hunain.* Pwyllog ymroad ydyw'r sylfaen siccraf, canys yr hyn a adeiladir arni a fydd debyg o sefyll yn ddiysgog.

*Gof.* Felly nid yw ffydd i fod megis gwag esgus, eithr yn bur ac yn ddiweniaith: nid proffes wan oddi allan, eithr oddi fewn yn ddealltwriaeth i'r meddwl: nid yn gred anwastad, ond hyderus ac o siccrwydd da: nid yn wrth-ddrych diystyr ac oeraidd, eithr yn galonnog, perthynasol, a thueddfrydol: nid mewn dyn di-ofal anghofus, llesg neu fethiant, eithr mewn dyn cydwybodol, uniawn a chywir; nis gweithreda hi ar galon anwadal, a fo yn hawdd ei dychrynu, ond ar galon a fo yn ddifrifol ac ystyriol; ac mewn dyn

dyn a fo (ar ol dyfal ystyried) mewn llawn fryd ar barhau?

*At.* Y ffydd a reola'r galon a'r bywyd, ac a safo ar bob amseroedd, sydd raid bod o'r cynneddfau hynny. A'r ffydd yr hon sydd un ai wedi ei gwenwyno â gweniaith, neu yn anwastad (o ba ryw y mae ffydd y *pechaduriaid*) sydd yn debyg i fod yn ol o'r cyfryw ffrwythau bendigol ar sy'n deilliaw o honi: Megis ffydd *Simon Magus* a fu-ddi-les *calon yr hwn nid oedd uniawn*: na ffydd *Agrippa*, yr hon nid oedd ond *o fewn ychydig* iw lle; na'r *credwyr yn y ddammeg*, ffydd y rhai oedd yn *syrthio ymaith am nad oedd iddi wraidd.* Felly yr amryw ystyriaethau hyn ar amrafael gynneddfau ffydd, sy'n arwyddo rhagoriaeth yn ei ffrwythau a'i lleshaad, ac yn rhagori ffydd y *saint* rhag ffydd *pechaduriaid.*

*Gof.* Mae rhai yn crybwyll fod ffydd yn weithred o (*a*) *ymddiried*, neu megis corphorol ymorphwys mewn hyder am iachawdwriaeth. A ydyw'r cyfryw beth yn arwyddocaad llythyrennol am ffydd?

*At.* Nag ydyw, oblegid y mae ffydd yn weithrediad ysprydol: ac er i gorph ymorwedd neu ymorphwys, nid oes gan yspryd mor ymddygiad na'r gosodiad hwnnw. Ond pan ddigwyddo i'r cyfryw eiriau gael eu harferu er eglurhau'r meddwl, nid ydynt amgen na (*b*) *thraws-gyfnewidiad* o ran arwyddo ryw gyffelybrwydd.

*Gof.* Pa ryw gyffelybrwydd a ddichon hyn ddangos mewn ffydd feddylgar?

*At.* Un ai credu rhyw athrawiaeth, neu hyderu ar ryw addewid. Canys fel y mae y rhai hyn yn foddion corphorol o ymorphwys mewn hyder, felly hefyd o'r tu arall, y mae yr yspryd mewn ymddiried bodlongar. Y mae'r ysprydoedd yn ymfodloni ac yn ymorphwys ar farn *Crist* yn yr hyn

(*a*) Act of Recumbency. (*b*) Metaphors.

hyn a ddywetto, aç yn hyderu ar ei addewid: yr hyn ſydd yn rhoddi yr un fodlondeb ac esmwythdra i'r yſprydoedd, ag a rydd y weithred honno o ymorphwys, i'r cyrph.

*Gof.* Ffydd hefyd a elwir gan rai, yn *llaw yr enaid*, yr hon ſydd yn ymgyrraedd i dderbyn, ac yn gogwyddo at iachawdwriaeth. Pa beth, yn y gras yſprydol hwn, ſydd yn gyfattebol i'r ymadroddion hynny?

*At.* Ymgyrraedd yw cydſynnio â gair Duw trwy ffydd. A chymmeryd gafael, neu ymoſtwng, yw bod yn fodlon i gyflawni rhyw ammodau. Wrth oſod allan y gweithredoedd meddylgar hyn, maent o'r un waſanaeth i'n heneidiau, ag ydyw yſtyn llaw i gyrraedd a derbyn i'n cyrph, hynny yw, *dwyn y pethau a chwennychem i lawr attom ein hunain.*

*Gof.* Felly yr ymorphwys corphorol uchod ſydd mewn cyffelybiaeth i gredu yr hyn a ddywedpwyd gan *Griſt*, a rhoddi hyder ar ei addewid ef. Ac ymgyrraedd i dderbyn oddi wrtho, nid yw amgen na bod yn fodlon i gyflawni ammodau'r efengyl, neu feddiannu ffydd yn ei chyflawn effaith, hynny yw, credu ac edifarhau: Wrth hyn lleſhaad *Criſt* a wneir yn eiddom ni.

*At.* Dyna wir feddwl yr ymadroddion tywyll hyn. Eithr myfi a ddymunwn fod geiriau caledion o'r cyfryw wedi eu gadael heibio, neu o lai arfer. Ac a ddewiſwn ymadroddion haws i'w deall. Canys da gennyf glywed ymddiddan yn eglur ynghylch *gwirionedd crefyddol* a *ſylfaen iachawdwriaeth*, lle y mae mwyaf angenrhaid goleuo dealltwriaeth dynion. Ond am yr ymadroddion hyn, nid ydynt amgen nâ dyfais dynion, ac yn gyffelyppach i hurtio nag i addyſgu. Eithr os arfera neb y cyfryw rhag llaw, neu daro wrthynt mewn llyfrau, mewn perthynas i

eglurhau

eglurhau ffydd wrthynt, yr hyn a ddangoswyd yw'r gwir hanes am danynt.

*Gof.* Os ffydd *yng Nghrist* yw ffydd yn ei air ef, nid yw rann yn y byd o ffydd i ddyn gredu *fod ei bechodau wedi eu maddeu*, nag o anffyddlondeb iddo *ammeu hynny*, canys ni roddir gwybodaeth neillduol i neb o'i deilyngdod ei hunan?

*At.* Gwirionedd yw. Eithr y mae efe yn dywedyd mewn *modd cyffredinol*, y maddeua efe i'r edifeiriol, ond nid ymostyngodd Duw i roddi gair i bob un yn *neillduol* pa bryd y bydd yn ddigon edifeiriol. Canys hynny a ddangosir yn y *farn gyffredinol*. Heb law hyn, dylai fod gan bob dyn *wir ffydd* cyn y gallo gael maddeuant. *Ffydd ac edifeirwch* ydynt ammodau maddeuant. Gan hynny na feddylied neb fod ei bechodau wedi eu maddeu cyn iddo fod yn deilwng drwy *edifeirwch*.

*Gof.* Os nyni a fyddwn mewn *ammheuaeth*, pa fodd y cyttuna hyn â *ffydd*?

*At.* Mae credu fod ein pechodau wedi eu maddeu yn gofyn ymddiried ar ddau ryw beth, sef *gallu Duw a sicrwydd o'i addewidion.* A *pharhaad y galon i gywiro'r ammodau.*

*Gof.* A ydyw ffydd ond hyder yn unig ar Dduw, ac nid ynom ein hunain? ac mewn creduniaeth o'i allu ef a'i ffydlondeb, eithr nid yn ein haddasrwydd ein hunain?

*At.* Dywedir am *Abraham* pan *gredodd*, iddo wrth hynny *roddi'r gogoniant i Dduw.* Ei ffydd yn hynny, oedd, cael *o bono ei gyfrif yn gyfiawn am gredu* mai am yr hyn *a addawsai Dduw, ei fod ef yn abl iw wneuthur hefyd.* Pan fo i ddynion unwaith siccrwydd am y priodoliaethau hynny, y dywedir eu bod yn perchen y ffydd gadarnaf, er eu bod hwy yn meddwl yn fwyaf ammheus o honynt eu hunain. Felly yr oedd y *canwriad* ffyddlon, gan feddiannu'r cyfryw hyder yngallu

Rhuf. 4. 20. Ad. 21.

*Crist*,

*Crist*, efe a feddyliodd mai gair o'i ben a iachaai *ei fab ef*, yn lle blino ein *Iachawdwr i ddyfod yn bresennol*: ac yn yr un amser yn meddwl mor wael o hono ei hunan, ai fod yn tybio ei *dŷ yn annheilwng i'w dderbyn ef.* Ac am hynny, y mae
Mat. 8. 8, 10. *Crist* yn cyhoeddi, *ni chefais gymmaint ffydd, na ddo yn yr Israel.*

*Gof.* Yr ydwyf yn canfod nad yw rann yn y byd o ffydd i ddyn gredu fod ei bechodau wedi eu maddeu, nag o anghreduniaeth er ammeu nad ydynt: A chan nad yw'r ammheuaeth hwn yn bechod o anghreduniaeth yn erbyn Duw, felly nid ydyw yn anwireddus ar bob amser, nac yn feius ar ryw achosion neillduol?

*At.* Nag ydyw, eithr yn fynych y mae yn arwyddo rhinwedd, gan ein cynnhyrchu ni yn nes at Dduw, o herwydd ei fod yn ostyngeiddrwydd a hun ddibrisiad, a thlodi yn yr yspryd, y rhai ni ront neb ym mhellach ond a'u dygant yn nes, gan roddi iddynt fantais yn ffafr Dduw. Y *Publican* arswydus, yr hwn ni feiddiai ofyn
Luc 18. 10. hyd 15. ffafr yn y byd, ond â *golwg trist, a safodd o hirbell, ac a aeth wedi ei gyfiawnhau gan Dduw, yn hyttrach nâ'r Pharisead balch,* yr hwn *a'i cyfiawnhaodd ei hun.* Ac medd ein *Hiachawdwr, pob un a'i dyrchafo ei hun, a ddarostyngir, a phob un a'i darostyngo*
Sal. 34. 18. *ei hun a ddyrchefir. Duw sydd yn agos i'r prudd o galon, a'r gostyngedig yn ei yspryd.* Mae yn *aros*
Esay 57. 15. *gyd a'r cystuddiedig, a'r gostyngedig o yspryd, i fywhau y rhai isel o yspryd, ac i fywhau calon y*
Esay66.2. *rhai cystuddiedig.* Y mae efe *yn edrych ar yr hwn sydd yn dlawd, ac o yspryd cystuddiedig yn crynu*
Ia. 4. 10, *wrth ei air ef.* I gyfodi *y rhai a ymddarostyngant*
Mat. 5. 8. *eu hunain yn ei wydd ef.* Ac i *fendithio'r tlawd yn yr yspryd.* Eithr di ammeu fod tristwch, prudd-der, a gormod o arswyd, yn abl i ddigaloni amcanion daionus, ac i wneud iddynt dybio fod Duw yn dost wrthynt, a'i orchymmynion

yn

yn anhawdd; a'i grefydd yn ddoft. Ond ni ddylai galonnau dynion lochesu'r cyfryw fyfyrdodau arswydus. Eithr y neb a font tan yr arswyd hwn boed iddynt hyderu ar Dduw mewn gobaith cysurus, gan gynnal eu gostyngeiddrwydd rhag llaw, yr hyn sydd fwy cymmeradwy nag ymddyrchafu at falchder a gwenlaith. Ar iair, yr isel a'r cymmedrol sydd yn fwy cymmeradwy ger bron Duw a dyn, nâ'r rhyfygus a'r ffrostus.

*Gof.* Ai nid ydyw bod yn ostyngedig yn fwy diogel hefyd?

*At.* Ydyw. Canys ofn sydd yn peri gofal; a gofal a bair esmwythdra, a'r ymdrech yn llai. A chan hynny y mae'r *apostol* yn annog y rhai Rhuf. 11.
sy'n disgwyl *sefyll, na bont o uchel-fryd, ond ofni.* 20.
A doeth oedd y gwr a ddywedodd, *gwyn ei fyd* Dihar. 28.
*y dyn a ofno yn wastadol, ond y neb a galedo ei galon* 14.
yn erbyn ofn, *a syrth i drallod.* Y modd goreu yw bod yn *gwbl siccr o'r pethau a berthynant i Dduw*, ond yn *ammheus o'r pethau a berthynant i ni ein hunain*; *gan weithio allan eu hiachawdwriaeth* Philip 2.
*drwy ofn.* 12, 13.

*Gof.* Ai nid oes gan rai gwyr daionus hyder mawr mewn ffafr yn Nuw? A chan mai dyna ragorfraint y *saint* mwyaf perffaith, ac a rydd *heddwch* a *gorfoledd yn Nuw* a *chysur mewn credun-* Gal. 5. 22.
*iaeth.* A'i nid yw hynny yn gyfiawnhaad, fel y Sal. 37.
mae yn fwyaf bendigedig a dymunol? 37.

*At.* Ydyw, (oni bydd i'w hyder redég tros y sylfaen) ond rhaid iddynt, dan y siccrwydd cysurus hwn, gynnal teimlad gostyngedig o'u diffygiadau a'u hannheilyngdod eu hunain, ac ofni rhag iddynt dramgwyddo trwy ddim methiantwch ar a allo ddigwydd iddynt ar ol. A'r siccrwydd cysurus hwn a ganiattawyd i rai gwyr daionus, megis rhagorfraint: ynghyfer fod i eraill ofn ac ammheuaeth bob amser. I ryw ddynion y caniatteir



caniatteir hynawſedd gan Dduw: Eraill a arferir yn galettach, i'w gwneuthur yn fwy cymmeradwy ac anwylaidd iddo ef ym mhob un o'r ddwy ffordd.

*Gof.* Chwi a ddangoſaſoch ddigon i eglurhau nattur ffydd a'i goruchafiaeth. Eithr, rhag ar ol i ni ei harferyd, i'n diſgwyliadau fethu yn y diwedd, myfi a ddymunwn wybod y ſiccrwydd am dani?

*At.* Y mae hynny yn gynnwyſedig yn *athrawiaeth Ieſu Griſt*, yr hwn yw awdur ein ffydd ni. Ac nid oes fodd iddo ef ddywedyd amgen nâ'r gwirionedd, na gwneuthur addewidion ond o ſiccrwydd. O herwydd efe yw'r *gwir Feſſiab*, neu *Griſt Duw*, yr hwn oedd i ddyfod yn *brophwyd* iddo, ac i wneuthur ei feddwl ef yn adnabyddus i'r byd.



PEN.

# PENNOD II.

## *Mai yr* IESU *yw y* CRIST, *oddi wrth ben Brophwydoliaethau.*

### CYNNHWYSIAD Y BENNOD.

*Prophwydoliaethau yn profi mai'r Iesu yw y* Crist. *Rhai a gyfrifant amser ei ddyfodiad. Hyn y maent yn ei gyfrif wrth yr hynodrwydd a ddigwyddai ar yr amser hwnnw. A chan sefydlu'r flwyddyn. A'r modd y bu ddisgwyliad mawr am dano ef yn yr amser hwnnw. Na roddwyd ei amser ef heibio tuhwnt i'r pryd pennodol o ran pechodau'r bobl. Pa ham na bui'r* Iuddewon, *y rhai a ddarllenasant yr arwyddion am yr amser, goelio ei ddyfodiad. Eraill yn pennodi arwyddion hynodol, wrth y rhai y gellir ei ragori rhag pob dynion eraill. Megis ei anedigaeth ef o forwyn. A hynny mewn amcan yn crybwyll am ryw forwyn arall yn nyddiau'r brophwydoliaeth, eithr yn bennodol am y* Messiah: *y cyflawniad pan anwyd* Iesu. *Hyn yn cael ei egluro heb ammheuaeth. Bod ysbryd gwyrthiau yn gorphwys arno. Ei farwolaeth a hynodrwydd yr amser hwnnw. Ei ddychweliad i fywyd drachefn. Ei ddibeniad ef ar aberthau Iuddewaidd, a chyfammod cyfraith Moesen. A dwyn un newydd, ac amgen i fewn er cyflawni'r diffygiadau. Ei ymerodraeth gyffredinol, a'i ymddangosiad fel brenin galluog. Hon, nid yn ddaearol eithr yn deyrnas ysprydol. Troad y cenhedloedd oddi wrth eu heilynnod.* Iesu *yn distewi'r* oraclau, *ac yn bwrw allan ysprydion aflan o'u temlau. Hynny yn ddadl trosto ef, nid yn unig er cyflawni hen addewidion, ond o herwydd mai gweithredoedd*

*nefol oeddynt. Y prophwydoliaethau o brawf cyffredinol; a heddwch tan y* Messiah *wedi ei wneuthur yn ddiammheuol, o blegid eu harwyddoccaad a'u perffeithrwydd. Y prophwydoliaethau yn wybodol i'r hen Iuddewon, er eu gwadu gan rai o honynt oedd ddiweddarach, o wir gasineb ar yr* Iesu.

Y Bennod yn canlyn.

*Gofyn.* PA fodd y dengys mai *Iesu* (yr hwn a anwyd o *Fair*, ac a ddioddefodd tan *Bontius Pilatus*) yw y *Crist?*

*At.* Yn gyntaf, oddi wrth *bropbwydoliaethau.* Yn ail, oddi wrth *dystiolaethau nefol.*

*Gof.* A ydyw hyn yn gynnwysedig yn yr hen *bropbwydoliaethau?*

*At.* Ydyw, a thrwy y rhai hyn y mae *S. Paul* yn gwneuthur ei oreu ar ddwyn yr *Iuddewon* yn *Rhufain ar ddeall, gan eu hannog hwynt yngbylch yr Iesu, yn gystal allan o gyfraith Moses, ac o'r prophwydi eraill.*

*Gof.* Pa fodd y mae'r *prophwydoliaethau* hynny yn ei amlygu ef?

*At.* Trwy ddangos *amser ei ddyfodiad ef.* A thrwy bennodi *amryw arwyddion perthynol a thra eglur*, trwy y rhai yr *arddangosir ef yn rhagor dynion eraill.*

*Gof.* Pa fodd y maent yn pennodi *yr amser o ddyfodiad y Messiah?*

*At.* Trwy amryw ddigwyddiadau cyhoeddus, y rhai (wrth fasnu yn eu cylch) nid hawdd y camgymmerir.

*Gof.* Dymunwn gael eu hanesion.

*At.* Hwy a ddywedant fod ei ddyfodiad cyn darfod teyrnasiad yr *Iuddewon* ac iddynt beidio a bod yn *genedl* dan *lywodraeth gyfannedd:* lle y maent yr awr hon, na feddant na gwlad na gwladwriaeth ers mwy na *dau cant ar bymtheg* o flynyddoedd,

flynyddoedd, byth er dinyftriad *Caerſalem*, ond byw yn waſgaredig hyd bob gwlad a brenhiniaeth. Nid eill y cyfnewidiad hwn lai nâ bod yn wybodus i'r byd, yr hwn a gollodd *genedl*, yr hon oedd mewn enw mawr ynddo, a chanddi ddefodau a chyfreithiau mor ardderchog yn gwneud iddi ragori ar bob cenedl arall. Hyn a arwyddoccawyd gan y *patriarch Jacob* am ddyfodiad y *Meſſiah*, ſef, *nid ymedy y deyrn-wialen o Juda, na deddfwr oddi rhwng ei draed ef.* Hynny yw, *cenedl yr Iuddewon*, yr hon a gyfenwir *Juda*, ni pheidiant a meddiannu llywodraeth mewn rheolaeth wledig, a'u cyfraith eu hunain, *hyd oni ddelo'r Silo.* Gen. 49. 10.

*Gof.* Pa ryw hynodrwydd arall y maent yn ei roddi am yr amſer hwnnw?

*At.* Y maent yn dywedyd y bydd ei ddyfodiad ef tra bo yr *ail deml* etto yn ſefyll, yr hon a ddrylliwyd pan aeth y *ddinas* i ddwylaw *Titus Veſpaſian.* *Yr Arglwydd yr hwn yr ydych yn ei geiſio, ſef angel y cyfammod, a ddaw yn ddiſymmwth i'w deml*, medd Duw. Mal. 3, 1. Ac am yr *ail deml*, fe a ddywed, *yſgydwaf yr holl genhedloedd, a dymuniad yr holl genhedloedd a ddaw, ac a leinw y ty hwn â'i ogoniant.* Hag 2. 7. Y preſennoldeb hwn yw yr *Meſſiah*, yn cyrchu iddi i wneuthur yn amlwg y geiriau hyn, *a mwy a fydd gogoniant y ty diweddaf hwn nâ gogoniant y ty cyntaf.* Hag. 2. 9. Yr oedd y ty hwn yn waelach nâ'r llall o ran maintiolaeth, *onid yw yn eich golwg chwi, y rhai a welodd ogoniant y ty cyntaf*, Hag. 2. 3. medd Duw, *mewn cyffelybiaeth i beth heb ddim.* A'r *Offeiriaid a'r Lefiaid, a'r pennau cenedl y rhai oedd hen, ac a welſent y ty cyntaf*, Ezra 3. 12. pan welſant ſylfaenu hwn, (tra'r oedd y lleill, y rhai ni welſent y cyntaf, *yn llefain gan orfoledd*) *a wylent gan gofio* y rhagoriaeth. Yr oedd hefyd iddo bum *uchelfraint* ragorol, ſef *arch y cyfammod*, o ba le Ecs. 25. yr oedd Duw yn rhoddi attebion drwy lef ſoniarus; 21, 22.

Num 27. Yr *urim a'r thummim*, y rhai a berthynant i hy-
21. fforddio'r *arch offeiriaid* pan ymgynghorent â
Lef. 9. Duw ynghylch rhyw achos *breiniol*; Y *tan o'r nef*
23, 24. ar yr allor i ddifa'r aberth; Y *shechinah*, neu'r
1 Bren. 8. nefol bresennoldeb yn y *cysegr sanctaidd*, yn ogo-
11. niant gweledig, neu ymddangosiad ar y *druga-*
Sal 80.1. *reddfa*. A'r *Ysprvd Glan yn yr ysprydoliaeth bro-*
Lef. 16. 2. *phwydo*, yr hwn a roddes ysprydoliaeth mewn llawer yn amser y ty cyntaf, eithr nid i neb yn amser hwn, fel y dywed y *prif Iuddewon* eu hunain. Ond er fod y ty hwn yn fyrr o'r pethau ardderchog hynny, etto presennoldeb y *Messiah* ynddo, a wnai'r fath ddisgleirdeb, ac ym marn Duw ei hun, y byddai iddo fod yn *fwy gogoneddus nâ'r llall.*

*Gof.* A ydynt hwy yn son am un arwydd arall ac sydd yn pennodi yr amser hwn?

*At.* Ydynt: y byddai hynny ychydig o flaen *dinystriad y deml* a *dinas Gaersalem*, a llwyr *ddifrawd y genedl iuddewig*. O ran y mae'r prophwyd
Dan. 9. *Daniel* yn cyhoeddi mai ym mhen nifer o *wyth-*
26. *nosau Messiah a dorrir ymaith*, ac yna pobl *y tywysog a ddont.* Hynny yw, y *Rhufeiniaid*, y rhai a wnant ruthr arnynt hwy, *a ddistrywiant y ddinas a'r cyssegr, diwedd yr hyn a fydd drwy lifeiriant*, hynny yw, i'r *Rhufeiniaid* eu gorthrechu hwynt, ac mai *difrawd a fwriedir hyd ddiwedd y rhyfel:* hynny yw, erbyn i'r rhyfel fod ar ben, difrawd yr *Iuddewon* truenus a berffeithir. Ac y mae efe yn chwanegu at hyn *arwydd* arall, sef mai ar ol dyfodiad y *Messiah*, *aberthau y gyfraith* a ddarfyddant yn eu mysg hwynt. *Deng bwythnos a thri ugain*, medd yr angel, *a derfynwyd ar dy bobl di, i enneinio y sancteiddiolaf, ac i ddibennu camwedd, ac i wneuthur cymmod tros anwiredd.*
Lef. 4. 3, Hynny yw, am *bech aberthau*, y rhai oeddynt i'w
25, 29. diddymmu pan unwaith y cyflawnai *Messiah*'r
Pen 5. 6. cwbl a grybwyllwyd ganddynt hwy, drwy ei
Sal. 40. 6.
aberth

aberth ei hun. A hyn yn dra hynod a wiried ynddynt hwy. Canys wrth eu cyfraith, nid oedd iddynt hwy ond un allor; ac yr oeddynt i ddwyn yr holl aberthau o bob cwrr, i'r *deml yng Nghaer-salem*; ac nid oeddynt un amser i aberthu pan faent o'u gwlad eu hunain. A'r deml ynghyd a'r ddinas a wnaethpwyd yn anghyfannedd gan *Titus Vespasian*, ym mhen deugain mlynedd ar ol aberthu ein *Hiachawdwr*. Dan. 12. 11, 13, 14.

*Gof.* Gan fod hynodrwydd yr arwyddion hyn mor agos i'r amser, y mae yn hawdd gwybod pa bryd i edrych am ddyfodiad y *gwr* hynod hwn. Eithr a oes dim arwyddion ychwaneg ynghylch yr amser, gan bennodi'r flwyddyn o'i ddyfodiad?

*At.* Y mae'r prophwyd *Daniel* yn rhag ddywedyd yr unig *flwyddyn* o'i ymddangosiad, ei ddioddefaint, a'i farwolaeth: Y byddai yr amser cyntaf yn digwydd 483, a'r amser diweddaf 486 o flynyddoedd ar ol rhoddi gorchymmyn i ad-wneud (nid y *deml* ond) y *ddinas a'r muriau yng Nghaersalem. Gwybydd gan hynny, a deall y bydd o fynediad y gorchymmyn allan am adferu, ac am adeiladu Jerusalem, hyd y blaenor Messiah*, hynny yw, at ei ymddangosiad ef (yr hyn a ddigwyddodd ar ei *fedydd*, canys y pryd hwnnw y derbyniodd efe ddigyblion gyntaf) saith wythnos, a dwy wythnos a thrugain, y rhai a wnant naw wythnos (*a*) a thrugain (neu seithiau blynyddoedd) yn gyfattebol i *wythnosau Daniel*, yr hyn sy'n gwneuthur 483 yn flwyddyn ei *ymdangosiad*. Ac am ei *ddioddefaint*, medd efe, hynny a ddigwydd yn yr *wythnos ar ol*, ïe *ynghanol yr wythnos*: hynny sy ynghylch *tair blynedd a hanner* wedi, neu yn y *bedwaredd flwyddyn* ar ol ei *ymddangosiad*, yr hon sydd yn gwneuthur 487 o *flynyddoedd* ar ol rhoddi Dan. 9. 29. Dan. 10. 2.



(*a*) Noda fod pob wythnos o'r rhai hyn yn saith mlynedd.

y gorchymmyn i adeiladu *Caersalem*. Ac ar ol y *saith wythnos, a thrugain a dwy wythnosau*, sef i'r trugain a naw wythnosau ddyfod i ben, a'r ddegfed wythnos a thrugain (neu seithiau blynedd)
Dan. 9. 26. yn dechreu, *y lleddir y Messiah*; ie, fe a dorrir ymaith ynghanol yr *wythnos honno*. *Efe a siccrha y cyfammod â llawer dros un wythnos*, hynny yw, yn y ddegfed wythnos a thrugain, pan ddechreuodd efe ei bregethiad, yr hon a drodd laweroedd;
Dan. 9. 27. *ac yn hanner yr wythnos y gwna efe i'r aberth a'r bwyd offrwm beidio*, sef y diddymma efe yr aberthau *iuddewig* trwy ei aberth ei hun.

*Gof*. Y mae yr *arwyddion* hyn yn amlwg iawn, ac yn pennu'r amser mor fanwl ac a fyddai raid: Eithr a ddigwyddodd *ymddangosiad* a *chroeshoeliad* yr *Iesu* yn uniawn wrth yr amser hwn?

*At*. Do, fel y mae (*a*) *gwyr* dysgedig am yr amseroedd yn pennodi bob un hyd at y flwyddyn. Canys y gorchymmyn i adeiladu *Caersalem*, nid yn unig y *ddinas*, ond yr *heolydd a'r mur* hefyd, *oedd yn yr ugeinfed flwyddyn i Artaxerxes*, ar ddy-
Neh. 2. 1, 5, 6, 7, 8. wediad *Nehemiah*. Yr oedd gorchymmyn, yn wir, o'r blaen, i wneuthur y *deml*, a roddasai
Ezr. 1. 1, 2. *Cyrus*, ac un arall oddi wrth *Darius Hystaspis*, a thrachefn oddi wrth *Artaxerxes Longimanus*, yn y
Ezr. 6. 1. Ezr. 7. 1. 8, 12, 13. seithfed flwyddyn o'i deyrnasiad. Eithr y gorchymmyn am wneuthur y *ddinas a'r mur* (yr hyn y mae'r *prophwyd* yn ofalus am ei yspysu yma) ni ddigwyddodd tan yr *ugeinfed flwyddyn o Artaxerxes*. Yr hyn, yn ol y (*b*) cyfrif manylaf, sydd yn dechreu ei deyrnasiad ef yn yr eilfed flwyddyn o'r 77 (*c*) *olympiad*, ac yn y flwyddyn o oed y byd,

(*a*) *Lidiat Emend. temp.* &c. Cyfrif o drefn a rhesymmau, pa rai a ganfyddir yn Eglurhaad y *Dr More* ar weledigaeth *Daniel. Vis.* 4. p. 120, &c.

(*b*) *Lidiat Emend. temp.* p. 69, &c. & *Canon. Chron.* p. 54.

(*c*) Math ar wledd, neu chwareusa neu gampau yn hytrach, arferol ym mhlith y *Groegiaid*, unwaith bob pedair blynedd.

byd, yn ol (*a*) *Helvicus*, 3498. A chan ddechreu yn y flwyddyn hon, a chyfrif naw a thrugain o wythnosau, neu bedwar cant a thair a phedwar ugain o flynyddoedd, yr amser dywededig i derfynu o flaen ymddangosiad y *Messiah*, y flwyddyn ar ol, yn yr hon yr oedd efe i ymddangos, sydd yn gwneuthur y bedwaredd flwyddyn o'r 202 *olympiad*, a'r 3981 flwyddyn o *oed y byd*, a'r 19 flwyddyn i *Tiberius*; a hon sydd yn digwydd ar y ddegfed flwyddyn ar hugain o *oedran Crist*, yn ol y (*b*) cyfrif goreu o'i anedigaeth ef (yr hyn sydd yn ei gosod yn y drydedd flwyddyn o'r 195 *olympiad*, sef yn yr (*c*) unfed flwyddyn a deugain i *Augustus*, a blwyddyn y *byd* 3952) a'r uniawn flwyddyn o fywyd ein *Hiachawdwr*, (yn yr hon, wrth arfer y *Lefiaid* y rhai yn ddeg ar hugain oed a *ddechreuent eu gwasanaeth*) yn yr hon y bedyddiwyd ef, ac y dechreuodd ei (*d*) *bregethiad*. A chan gyfrif i'r 487. flwyddyn (yr amser pennodol o'i ddioddefaint ef) y mae yn gwneuthur 22. i (*e*) *Tiberius*, yr uniawn flwyddyn y croeshoeliwyd ein *Hiachawdwr*. A chan hynny yr oedd i'r *Apostol* yr achos mwyaf i gyhoeddi *dyfodiad Crist*, sef iddo ddigwydd *yngbyflawnder amser*, wrth hynny yn yspysu, nid yn unig yr adeg fwyaf perthynasol, eithr hefyd yr amser manylaf o'r flwyddyn y rhagddywedpwyd am dano.

Num. 4. 3.

Gal. 4.4.



(*a*) Ynghyfrif Mr *Lydiat* am oed y byd. Mae'r cyfrif hwn yn lled anwastad ym mysg y *brudwyr*. Er hynny y mae'n yn cyttuno wrth gasgliad blynyddoedd ein *Hiachawdwr* mai'r ugeinfed flwyddyn ar ol yr ail o'r *olympiad* 77, yw'r 3553 o oed y byd.

(*b*) See *Lydiat Emend. temp.* p. 134, &c. *seq.*

(*c*) Yn ol *Æra. Hispan. in Tom. Concil.* er bod y casgliad cyffredin yn ei wneuthur yn 45.

(*d*) Luc 3. 21, 22. Am fedydd *Crist* yn y 19 o *Tiberius*, gwel *Lydiat Emend. Temp.* p. 168. &c *seq.*

(*e*) *Lydiat ib.* p. 176. &c *seq.* Am yr holl byngciau neillduol hyn yn helaethach yn ei *Recensio & Explicat. Argum. Lib. Emend. Temp.*

*Gof.* Mae hyn yn fanyldra am bennodi yr amser o ddyfodiad *Messiah*, yr hyn a gyflawnwyd mor uniawn ar *Iesu Grist*, yn gwneuthur nad oedd fodd i hynny ddigwydd ar neb arall oddigerth i ryw dwyllwr ymddangos yn y flwyddyn honno, o ran ymryson ag ef. Ond gan eu bod wedi cael hanes mor eglur, Pa fodd na buasai i'r *Iuddewon* edrych beunydd am ei ddyfodiad ef?

*At.* Yr oeddynt i gyd yn disgwyl ynghylch yr
Luc 2.25. amser. Canys pan anwyd ef, *Simeon oedd yn*
Ad. 38. *disgwyl am ddiddanwch yr Israel.* *Anna* hefyd, pan ei gwelodd, *a lefarodd amdano wrth y rhai oedd yn disgwyl ymwared yn Israel.* Mor llawn o ddisgwyliad oedd y bobl yn y dyddiau hynny, hyd nad oeddynt yn ddigon parod i goelio pob lledrithiwr, gan redeg ar ol *Theudas* a *Judas*, fel
Act. 5. 36, y dywed *Gamaliel*, ac ar ol amryw eraill, fel y
37. dywed (*a*) *Josephus*; ïe, mor fanwl oedd eu disgwyliadau, ac mor hawdd ganddynt roddi enw Messiah i ryw un rhagorol, er ysgatfydd na fyddai efe ei hun yn meddwl am hynny, etto yr oeddynt hwy yn barod i ddirnad y cyfryw o hono ef. Megis y gwnaent am *Ioan fedyddiwr:* Canys pan ymddangosodd hwnnw yn ddyn â rhagor-
Io. 1. 19. iaeth arno, *hwy a anfonasant Offeiriaid a Lefiaid*
20. *atto ef*, *i ofyn ai efe oedd y Crist*, *ac efe a addefodd*, *ac ni wadodd: ond cyffessodd, nid myfi yw y Crist.* Ie hwy a fostient hynny ym mysg y *Groegiaid a'r Rhufeiniaid.* Ynghylch yr amser hwnnw yr aeth y gair dros y (*b*) *dwyrain*, *fod Duw wedi addaw cyfodi un allan o Judea i fod yn ymerawdr ar y byd*, medd *Suetonius* yn hanes *bywyd Vespasian.* Felly gan roddi o'r *prophwydi sanctaidd* gymmaint achos i'r *Iuddewon* a'r *Cenhedloedd*, yr oeddynt mewn llawn ddisgwyliad y pryd hwnnw am y *Messiah:* ac yn llygad yr amser hwnnw y ganwyd ein *Hiachawdwr*

(*a*) *Antiq.* l. 20. cap. 6, 7. (*b*) *Suet. in Vesp.* c. 4.

*Hiachawdwr Crist*. Yr ydoedd yn ymddangosedig cyn i'r *deyrnwialen* ymadael: canys yn ei ddyddiau ef, a thros ryw hyd ar ol, yr oedd y genedl *Iuddewaidd* yn yr un-man, a than lun o lywodraeth; a thra bu yr *ail deml* i fynu; oblegid yr oedd efe yn *ymresymmu beunydd* ac yn *dysgu* ynddi hi: a chyn dinystrio'r *ddinas* a'r *deml*, a pheidio o'u *babertbau*, yr hyn ni ddigwyddodd tan *ddinystriad Caersalem*, ym mhen agos i ddeugain mlynedd ar ol ei *groeshoeliad* ef. Ar fyrr, efe a ymddangosodd ar derfyn y 69 wythnosau, ac yn y 19 flwyddyn i *Tiberius*, ac a ddioddefodd ynghanol y ddegfed wythnos a thrugain, yr hon a ddigwyddodd y 22 i *Tiberius*, yn uniawn fel y dywedasai'r *prophwyd Daniel* am dano ef. A chan fod dyddiau'r *Messiah* yn digwydd arno ef mor uniawn, ac nid ar neb arall, y mae yn eglur ddiwad mai efe yw ein *Hiachawdwr*.

*Gof*. Ond er fod Duw wedi addaw yn bendant anfon y *Messiah* ar yr amser pennodol hwnnw, Ai ni allasai efe roddi hynny heibio o ran pechodau'r bobl, yr hyn oedd yn eu gwneuthur mor annheilwng o'r cyfryw fendith?

*At*. Na allasai, o herwydd fod y pechodau hynny wedi crybwyll am danynt yr un amser ac yr addawsid ei ddyfodiad ef. *Esay* sydd yn arwyddo'r dynion a fyddent yn oes y *Messiah*, megis cenedl ddigred galon galed, *na chredai i'w ymadrodd*, eithr *cuddio eu hwynebau rhagddo* yn eithaf ei gystudd ef. *Jeremi* sydd yn crybwyll am i Dduw *ddiddymmu ei gyfammod cyntaf*, gan hynny yn angenrhaid ddyfod o'r *ail* yn ei le trwy'r *Messiah*. *Malaci* yn dywedyd eu bod wedi colli yn oed *bossder naturiol rhwng rhieni a'i plant*, a bod yn rhaid i *Elias fyned o'r blaen i adferu cariad yn eu mysg*. A *Daniel* sydd yn arwyddo y bydd iddynt ddal i bechu hyd at ei ymddangosiad, a chyffroi Duw mor bell a rhoddi iddo achos iw torri

Esay 53. 1, 3.

Jer. 31. 31—33.

Mal. 4. 5, 6.

Dan. 9. 26, 27.

torri ymaith yn fuan, a *dinystrio'r ddinas a'r cysegr* drwy farnedigaeth gyfiawn ac ofnadwy. Ie, cyn belled oedd pechodau'r bobl yngolwg Duw, oddiwrth attal ei ddyfodiad, a'u bod yn wir achos

Dan. 9. a rheswm o'i ymweliad â hwynt. Dyfodiad,
Ad. 24. neu *enneiniad y sancteiddiolaf* medd *Daniel*, sydd i *ddiddymmu pechodau*, hynny yw, offrwm tros bechodau, a *gwneuthur cymmod dros gamweddau.*
Esay 53. 5,6,8,10 I *offrwm i fynu ei enaid yn offrwm dros bechodau*, *i ddwyn ein camweddau ni i gyd*, i'w *archolli am ein troseddiadau*, a'i *ysigo ef am ein camweddau*, mai *trwy ei archollion ef yr iacheid ni.* Ei ddyfodiad
Zech. 13. 1. ef i wneuthur iawn dros bechodau, *i egor ffynnon i dy Ddafydd a thrigolion Jerusalem, am bechod ac am aflendid.* A chan ei ddyfod ef fel hyn i ddiwygio ac i iachau pechod, nid rheswm na lles oedd aros ymhellach nâ'r amser (gan fod pechod yn cynnyddu) mwy nag aros am physygwr at y claf a fai'n gwaethygu.

*Gof.* Ai nid ydyw Duw yn dywedyd, pan
Jer. 18. 9, 10. fyddo efe yn son am *adeiladu, neu ddyrchafu rhyw genedl, mai os gwnant ddrwg, efe a edifarha am y daioni* drwy'r hwn y *dywedasai efe y gwnai les iddynt?*

*At.* Ydyw, ac felly gan anfon ei arwyddion, y mae efe yn gwneuthur â phob dynion a font â dim rhinwedd ynddynt, ar hyder gwellhaad. Eithr yr addewid o'r *Messiah* oedd yn *bendant*, ac nid ar ammodau. O ran yr oedd Duw wedi cyhoeddi ei anfoniad ef i blith pobl bechadurus; ac yn lle attal ei ddyfodiad o ran eu drygioni hwynt, y byddai iddo ef yn hytrach ddyfod o herwydd eu hanwireddau, ac i'w hiachau hwynt. Ar fyr, yr oedd pechodau yr oes honno mor bell oddi wrth attal ei ddyfodiad, ag oedd eu gwellhaad yn yr oes ar ol i'w ddwyn ef drachefn ar y ddaear.

*Gof.*

*Gof.* Yr wyfi yn canfod i'r hen *brophwydoliaethau* gyhoeddi yr *Iesu*, mai efe yw y *Crist*, gan nodi amser ei ddyfodiad: Eithr myfi a ddymunaf gael gwybodaeth pa fodd na bu i'r *Iuddewon*, y rhai oeddynt yn credu yr holl *brophwydoliaethau* gredu'r pethau hyn hefyd?

*At.* Yr hen *Iuddewon* cyn y *Messiah* a'u darllenasant, fel y mae yn dangos wrth eu cyd ddisgwyliad am dano o ddeutu'r amser, medd *Grotius* (*a*) *ddysgedig* wrth son am *Rabbi Nehumias*, yr hwn oedd yn byw ddeg a deugain o flynyddoedd cyn dyfodiad *Crist*. Efe a gyhoeddodd mai ym mhen 50 o flynyddoedd y byddai ddyfodiad y *Messiah*, o herwydd mai ym mhen yr amser hwnnw yr oedd wythnosau *Daniel* yn pennodi. Eithr am yr *Iuddewon* diweddaraf, y maent yn cyd wahardd pawb rhag edrych yr *ysgrythyrau* ynghylch dyfodiad y *Messiah*; Ac y mae yn debygol mai dyna feddwl yr * *anathema* greulon honno, a welpwyd yn eu *Thalmud* hwynt, sef, *Bydded* (*b*) *i'w chwyddedig esgyrn dorri ar eu traws i'r hwn a chwilio bennodau yr amseroedd.* Ac yn rheolau *Maimonides*, eu hail Foses hwynt, *y maent i gredu y daw efe, ac er aros yn hir, nid oes ond ei ddisgwyl, ond na phenned neb yr amser, na chymmaint a deongli testun na gair o'r ysgrythur ynghylch ei ddyfodiad ef.*

* melltith.

*Gof.* Gan fod y cyfryw *felltith* arswydus arnynt os edrychant yr *ysgrythyrau* am amser ei ddyfodiad, nid rhyfedd fod anghreduniaeth yn cynnyddu yn eu mysg. Eithr chwi a ddywedasoch am amryw *hyngciau eraill, eglur a pherthynol, drwy ba rai y gellir ei ragori ef rhag dynion eraill?*

*At.* Y rhagoriaethau hynny ydynt y *gweithredoedd* a'r *arwyddion* a berthynant iddo ef, neu a berffeithiwyd ganddo: y rhai megis yr oeddynt mor

(*a*) *De Verit.* l. 5. c. 14. (*b*) Vid. *Episcop. Instit.* l. 3. c. 5.

mor amlwg ynddo ef, a'u bod o'r cyfryw *hynod-rwydd* arno ac na chafwyd erioed mewn neb ryw ddyn arall.

*Gof.* Pa ryw bethau oedd y rhai hynny, a'u bod mor hynod, ac yn perthyn iddo ef mor neillduol?

Esay 11. 1, 10. Mic. 5. 2. *At.* Nid yn unig ei eni ef o *dylwyth Dafydd*, ac yn *ninas Bethlehem*, yr hyn (yn enwedig a chyfri'r amser mor bennodol) sydd hanes amlwg iawn: eithr yn fwy enwedigol ei hynodrwydd o ran yr holl arwyddion sydd yn canlyn.

*Gof.* Pa rai ydynt?

*At.* Yn gyntaf, ei *eni ef o forwyn*, yr hyn beth, ni chlybu neb erioed na chynt na chwedi son am ei gyffelyb, ac ydoedd ddigon i wneud rhagor-

Esay 7. 14. iaeth rhyngtho ef ac arall. *Wele morwyn a feich-ioga, ac a esgor ar fab*, medd Duw trwy'r *pro-phwyd Esay*, ac *a eilw ei enw ef Immanu-El.*

*Gof.* Eithr y gair *morwyn* yn y mann hwnnw, medd yr *Iuddewon*, a eill fod am *ferch ieuangc* mewn perthynas i'w hoedran, nid ei chyflwr: gan hynny nid oes dim neillduol yn hyn?

*At.* Nid yw'r ysgrythur yn crybwyll am ddim

Dihar. 30. 18, 19. amgen nâ *morwyn*. Eithr y mae yn debygol mai *morwyn* heb adnabod *gwr*, canys y mae'r (*a*) *Sep-tuagint*, y rhai oeddynt oll o flaen ein *Hiachawd-wr*, yn meddwl hynny wrth eu cyfieithiad: Ond y beichiogiad hwn a roddwyd yn *arwydd o ryfedd-od*; o ran ni byddai ryfeddod yn y byd grybwyll am feichiogiad *merch ieuangc* o herwydd ei hoed, ac yn enwedig ym mhlith yr (*b*) *Iuddewon*, arfer pa rai oedd gwneuthur ammodau a phriodi eu merched yn gynnar iawn. Pan naccaodd *Ahaz demtio'r Arglwydd gan ofyn arwydd, yr Arglwydd*,

Esay 7. 12, 14. medd *Esay*, *a rydd i chwi arwydd. Wele! morwyn a fydd feichiog.*

*Gof.*

(*a*) Yr 72 wyr a gyfieithiasant yr hen Destament o'r Groeg.
(*b*) Vid. *Seld. Ux. Heb.* l. 2. c. 3.

*Gof.* Y mae yn dangos mai rhyw forwyn yr oeddid yn ſon am dani. Ond etto, ai nid ellid meddwl (fel y dywed yr *Iuddewon*) am ryw un a oedd forwyn yn yr amſer y mynegodd y *prophwyd*, ſef, y byddai i Dduw weithredu ymwared i'r *Iuddewon*, cyn i'r cyfryw 'lodes a honno golli ei *morwyndod*, na beichiogi ar fab, nac i'r cyfryw blentyn ddyfod i ddealltwriaeth? megis y dywaid y *prophwyd?* Eſay 7. 16.

*At.* Mae lle i feddwl ei fod ef yn ſon am ryw forwyn, yr hon, mae yn debygol, oedd y pryd hwnnw yngwydd y prophwyd; canys o'r dechreuad, nid *wele morwyn* oedd y gair, eithr y *cyfryw forwyn* a feichioga, fel ped fuaſai efe yn pennodi neu yn dangos y *cyfryw un* o'u blaen hwynt. A chyn i'r *plentyn* a enir o honi, *fedru ymwrthod â'r drwg, ac ethol y da: gwrthodir y wlad a ffieiddiaiſt, gan ei dau frenin*, hynny yw, gan *Rezin brenin Syria, a Phecah brenin Iſrael:* y rhai oeddynt yr amſer hwnnw am ruthro ar *dir Judah*. A bu i'r pethau hyn ddyfod i ben felly: Canys yr ugeinfed *flwyddyn* oddi wrth ddechreuad *teyrnaſiad Jotham*, o'r rhai yr oedd un ar bymtheg wedi rhedeg heibio cyn i *Ahaz* ddyfod ar ei ol (yr hyn gan hynny oedd raid digwydd o fewn yſpaid dwy flynedd, neu dair o'r eithaf, oddi wrth amſer y rhagddywediad) o fewn pa amſer nid allai'r plentyn, o'i ymddwyn y pryd hwnnw, gynnyddu mewn oedran gwybodaeth. *Tiglath Pileſer* brenin *Aſſyria* a laddodd *Rezin*; a *Hoſea* a laddodd *Pecah*. Ond er i'r brophwydoliaeth hon fod yn rhyw dueddiad at forwyn o'r amſer hwnnw, yr oedd yn edrych heibio i honno, at forwyn, gan aros yn forwyn, a feichiogai ar y *Meſſiah*, ac nis cyflawnwyd nes ei ddyfod ef. 2 Bren. 15. 30, 32, 33. ib. 16. 9.

*Gof.* Pa fodd y dengys na chyflawnwyd hyn yn y forwyn a bennodwyd allan yr amſer hwnnw?

*At.*

*At.* O herwydd y pethau hynod yn y brophwydoliaeth honno a fuant heb eu cyflawni'r pryd hwnnw, yn enwedig y rhai sydd yn canlyn. Sef *beichiogiad* y forwyn hon sydd ryfeddol, ac a
Esay 7. roddwyd am *arwydd i dy Judah*; A hyn a feddylir
11, 12, wrth ei beichiogiad, ei bod er hynny yn aros yn
14. forwyn. Canys am un a fai yn forwyn i briodi, a beichiogi ar ol, nid oedd ryfeddod. Yn ail y plentyn *Immanu-El* i'w eni o'r forwyn hon, oedd i fod yn *bennaeth ar dir Judah*, yr hwn y mae'r
Esay 8. 8. prophwyd gan hynny yn ei alw, *dy dir di O Immanu-El!* Eithr ni chyflawnwyd hyn ym mhlentyn y forwyn o'r amser hwnnw. Y plentyn hwnnw y mae'r *Iuddewon* yn ei wneud yn fab i *Ahaz*, sef *Hezeciah*, efe a fu ar ol hynny yn *frenin ar Judah*. Ond yr oedd hwn wedi ei eni rai blynyddoedd o flaen y brophwydoliaeth hon, gan hynny nid ellid crybwyll am dano ef megis y cyfryw un y pryd hwnnw: o herwydd fe a ddaeth y prophwyd yn un-swydd â'r neges hwn at y
Esay 8. *brenin Ahaz*, yr hyn sydd dystiolaeth amlwg iddo
1, 3. ddigwydd o fewn ei *deyrnasiad ef*. Canys efe a
2 Bren. fu yn teyrnasu *un ar bymtheg o flynyddoedd yn Je-*
16. 2. *rusalem*, ac a adawodd *Hezeciah* ei fab i deyrnasu
2 Bren. ar ei ol. A *Hezeciah oedd fab pum mlwydd ar hug-*
18. 2. *ain oed pan ddechreuodd deyrnasu*. Felly yr oedd yn rhaid iddo ef fod yn wyth mlwydd oed pan eisteddodd ei dad *Ahaz* ar ei orseddfaingc. Felly y plentyn hwn gan ei addaw ef y pryd hwnnw, nis gallai fod yn *Hezeciah*, yr hwn a fu wedi hynny yn frenin. Ond y mae yn debyg mai mab y prophwyd ei hun ydoedd efe, yr hwn a fu fyw ac a fu farw yn wr gwladaidd, modd nad allai y chan honno o fod yn bennaeth ar *dir Judah* gael mo'i chyflawni yn hwn yma chwaith.

*Gof.* A anwyd mab i'r prophwyd yn o fuan ar ol y pryd hwnnw?

*At.*

*At.* Do, a hwnnw, fel y mae yn debygol, o forwyn, yr hon yn amser y rhag-ddywediad, a ddyweddiasai neu amcanasai y prophwyd iddo ei hun. *Mi a neseais at y brophwydes,* medd efe, Esay 8. 3.
gan fyned ym mlaen yn yr un rhagddywediad, *a hi a esgorodd ar fab.*

*Gof.* Pa fodd yr ymddengys mai 'r mab hwn oedd yr un *Immanu-El* yr hwn a addawsid i'w eni o forwyn?

*At.* O herwydd ei fod ef o'r un *enw*; etto er hyn, nid wyf yn dywedyd iddo gael ei bennodi wrth yr un *gair*, eithr wrth *air* yn cynnwys ynddo feddwl y *gair* arall, yr hwn yw yr un *enw* yn yr ysgrythur. Canys mab y forwyn oedd i'w alw yn *Immanu-El,* hynny yw, *Duw gyda ni,* i ddangos Esay 7.
ffafr Duw a'i bresennoldeb; ac fe a orchymmyn- Ad. 14.
ir i'r prophwyd alw ei fab wrth yr enw hwn, sef, *Maher-shalal-hash-baz,* hynny yw, *i fod yn* Esay 8. 3.
*fuan at yr yspail, ac i brysuro'r ysglyfaeth.* A hwn (er nad o'r un air) sydd o'r un rinwedd ac effaith â'r llall. Canys pan fyddai bobl mewn trallod tan ruthr, megis yr ydoedd yr *Iuddewon* y pryd hwnnw, sef yn amser yr *addewid* hon, effaith a Esay 7. 1.
phresennoldeb Duw a'u gwnai hwynt yn orchfygwyr ac yspeilyddion ar eu gwrthwynebwyr. A hyn (gan atteb i rinwedd yr *enw* yn yr ysgrythur) a geir yn fynych yn y prophwydi, megis yn *Esay, Jeremi, Ezeciel* a *Zechariah.* Ac oblegid Esay 1.
hynny, gelwir *Crist* yn *Emmanu-El,* sef Duw gyda 26. a,
ni, yr hyn a gyflawnwyd medd *S. Mathew,* pan Phen. 62.
alwyd ei enw ef *Iesu,* hynny yw, *achubwr*: 4.
oblegid tiriondeb a phresennoldeb Duw a ddang- Jer 3. 17.
oswyd yn rhagorol, gan ei bennodi ef yn ber- Ezec. 48. 35.
ffeithrwydd iachawdwriaeth a gwarediad ei wei- Zec. 8. 3.
nidogion. A hefyd, o herwydd mab y prophwyd Mat. 1. 21—23.
a wnaed yn *arwydd am yr un peth,* sef ymwared yr *Iuddewon* oddiwrth ruthr y ddau *dywysog* hynny mewn llai o amser nag y gallai efe ddyfod i

ddealltwr-

Esay 7. 16. ddealltwriaeth. *Cyn i blentyn* y forwyn, medd y prophwyd, *fedru ymwrthod â'r drwg, ac ethol y*
Ad. 1. *da, y tir a ffieiddiaist*, sef gwlad *Syria* ac *Israel* bellach (a aethant yn gas gan yr *Iuddewon* o herwydd yr ymgyrchiadau hynny) a adewir gan ei
Esay 7. 16. *dau frenin*. A chyn i *blentyn* y prophwyd fod mewn gwybodaeth *i alw, fy nhad, neu fy mam, golud Damascus ac yspail Samaria, â ddygir ymaith o flaen brenin Assyria*. Ym mhob un o'r lleoedd hynny, y mae addewid amlwg o'r un peth, sef, dinystriad y ddau frenin hynny o fewn yr un amser, sef cyn i'r plentyn addawedig y pryd hwnnw, ddyfod i oedran gwybodaeth. Felly plentyn y forwyn grybwylledig yn yr amser hwnnw, oedd fab y prophwyd ei hun. Ac efe heb fod o waed breiniol, eithr yn wr gwladaidd, mae yn amlwg nad oedd fodd i'r rhann honno o'r brophwydoliaeth, sef iddo fod yn *bennaeth ar dir Judah*, gael ei chyflawni ynddo ef.

*Gof*. A oes ychwaneg o hynodrwydd i ddangos na chyflawnwyd mor brophwydoliaeth hon ym mhlentyn y forwyn o'r amser hwnnw?

*At*. Oes, o herwydd fod plentyn y forwyn yn yr addewid honno, i fod mewn hawl ogoneddus, ac arwydd o'r *Messiah:* Canys mewn pellach son am addewidion Duw yn y plentyn hwn, a'r ymwared trwyddo ef yn y nawfed *bennod*, y mae'r prophwyd yn llefain allan mewn gorfoledd. *Canys*
Esay 9. 6, 7. *bachgen a anwyd i ni, a mab a roddwyd i ni, a bydd llywodraeth ar ei ysgwydd ef, a gelwir ei enw, rhyfeddol, cynghorwr y Duw cadarn, tad tragywyddoldeb, tywysog tangnefedd. Ar helaethrwydd ei lywodraeth, a'i dangnefedd ni bydd diwedd, ar orseddfa Dafydd, ac ar ei frenhiniaeth ef, i'w threfnu â barn ac â chyfiawnder, o'r pryd hwn hyd byth*. Gan hynny, y gwr i'r hwn y mae'r cyfryw ardderchowgrwydd a bod yn *rhyfeddol, y Duw cadarn, tad tragywyddoldeb, llywodraeth yr hwn ar orseddfa Dafydd*, oedd

*i gyn-*

*i gynnyddu yn wastadol*, mae yn eglur nad yw efe neb arall, ond y *Messiah*. A chan mai efe yw'r hwn a addawsid trwy *Esay*, i'w eni o forwyn, y brophwydoliaeth hon (er atteb rhyw rannau o'r blaen) ni allasai gael ei chyflawni, oddieithr ynddo ef.

*Gof*. Ond chwi a ddywedasoch o'r blaen fod iddo berthynas i fab y forwyn o'r amser hwnnw, ac i ryw ran gael ei gwblhau y pryd hwnnw; os ydoedd hyn oll yn tueddu at *Grist*, a'i fod i'w gyflawni ynddo ef rai cantoedd o flynyddoedd gwedi, y mae hynny yn gwneuthur amrafael arwyddocaad o'r un geiriau.

*At*. Mae hyn yn arferol yn yr ysgrythyrau, ac yn enwedig mewn prophwydoliaethau; megis son am ddyn gerllaw, yn yr hwn y cyflawnir rhan, ond yn bwrw at un arall ym mhen hir amser. Nid yw'r cyntaf ond megis cyffelybiaeth i'w ragflaenu. Felly y bu addewid Duw i *Ddafydd o gyfodi ei had ar ei ol*, a chan ddywedyd, 2 Sam 7.
*myfi a fyddaf iddo ef yn dad, ac yntef a fydd i mi yn* 12, 14.
*fab*: eithr er mynegi hyn y tro hwnnw mewn rhan am *Solomon*, etto'r cyflawniad oedd i fod *yng Nghrist*. A geiriau *Dafydd* ei hun ynghylch *na* Sal. 16. 8,
*adawai Dduw mo'i enaid ef yn uffern*, &c. er mai 9, 10.
cyffelybiaeth ydoedd hyn, ac o ran a wiried yn *Nafydd* ei hun, etto'r cyflawniad oedd i fod *yng Nghrist* pan *adgyfodwyd* ef, fel y mae *S. Pedr* yn Act. 2. 27.
egluro. A phan ddywedodd Duw *Ti yw fy mab*; Sal. 2. 7, 8.
ac *myfi a roddaf i ti y cenhedloedd*. Yr hyn a lwyr gwblhaed *yng Nghrist*, yn ol deongliad *S. Paul*. Act 13.
A *S. Mathew* sydd yn sicrhau yr un peth i ni ym 33.
mab y forwyn, yr hyn oedd yn tueddu ryw fesur Mat. 1.
at blentyn o'r amser hwnnw, eithr a gyflawnwyd 21—23.
yn unig pan ddaeth *Crist*.

*Gof*. Ond os genedigaeth mab o'r forwyn a gymmerir am *Grist*, pa fodd y gellid ei roddi ef i *Ahaz* a thy *Juda* am *arwydd* pan oedd cyn

belled ac ni ddeuai i ben yrhawg arol y genhedlaeth honno?

*At.* O ran arwyddoccaad am un arall hefyd a enid y pryd hwnnw er arwydd iddynt. Ac megis y byddai i'r cwblhaad lleiaf hwn fod yn arwydd i'r oes honno, felly y byddai i ryfeddol enedigaeth *Crist*, (trwy fwy rhagorol gwblhaad o'r brophwydoliaeth) fod yn ddisgleiriach arwydd, ac yn fwy rhagorol i'r oes ar ol: A hyn a etteb y diben o'i roddi er arwydd yn y cyntaf, yr hyn nid yw rwymedig i un dyn nac amser, eithr yn annherfynol yn unig i *dy Ddafydd*. *Gwrando*, medd y prophwyd, nid O! *Ahaz*, ond O!
Esay 7. 13, 14. *dy Ddafydd*. Heblaw fod ffydd genedigaeth *Crist* o forwyn yn nyddiau *Ahaz*, wrth addewid yn unig, yn gadarnhaad, i'r arwydd yn gystal a'r cwblhaad. A'r ficcrhaad hefyd iddynt hwy,
Esay 7. 4, 7, 9, 10. oedd na byddai i frenhinoedd *Syria* ac *Israel* mor tycciant yn eu herbyn. A hyn (os credent) oedd cystal a ficcrhaad fod Duw yn amcanu gwneuthur iddynt gymmwynas oedd *fwy*, wrth ei barodrwydd i gwblhau yr hyn oedd *lai:* Canys anfon y *Messiah* i'w eni o *forwyn*, ac i fod yn *Dduw gyda ni* oedd amgenach cymmwynas nag oedd angenrhaid i berffeithio ymwared oddiwrth *ruthr y tywysogion* hynny. Ac yr oedd yn arwydd arferol yn yr ysgrythyrau, gynnyddu ffydd a hyder drwy'r cyfryw arwyddion ac na ddeuent yr hawg i ben,
Ec. 3. 12 Esay 37. 30. yn y modd y gwnaeth Duw i *Moses*, a *Hezecia*, a'r *Iuddewon*.

*Gof.* Yr wyfi yn canfod fod y brophwydoliaeth y *genid mab o forwyn*, yn bwrw at y *Messiah :* Ond a gyflawnwyd hyn oll ar ddyfodiad yr *Iesu?*

*At.* Do, yn rhyfeddol iawn hefyd. Canys ei *fam* oedd forwyn bur; *Joseph* hefyd a hithau oeddynt gyfiawn, ac yn cael gair da gan bawb. Eithr *Joseph* wedi iddo ei phriodi, a ammheuodd ei diweirdeb, oblegid *hi a gafwyd yn feichiog cyn*

*eu dyfod hwy yngbyd.* Ond angel a bryfurwyd o'r nef i gyhoeddi ei gôneftrwydd, gan ficcrhau iddo ef nad oedd yr hyn a genhedlwyd ynddi o herwydd dynol weithrediad, eithr o'r Yfpryd Glan. *Yr Yfpryd Glan* megis *angel* arall, a ymddangofodd iddi hi ei hunan, *gan ddyfod uwch ei llaw hi, a nerth o'r uchelder a'i cyfgodai*, ïe, pan oedd hi yn gwrthddadlu'r *modd* o fod yn fammaeth, gan *ei bod yn forwyn bur.* Hyn oll oedd mor ddiammheuol, ac a wnaethpwyd mor hyfpys i'r *apoftolion*, ac i'r *prif Griftianogion*, a bod hyd yn oed eu gelynion pennaf yn methu cael lle i wneuthur dadl â hwynt, ac i godi ammheuaeth; a hwy a'i barnent yn bwngc mor deilwng ac yr haeddai le ym myfg erthyglau'r ffydd Griftianogol, fef *credo'r apoftolion.* Canys dyna'r achos i gredu fod *Iefu Grift wedi ei genhedlu o'r Yfpryd Glan, a'i eni o Fair Forwyn.* Mat. 1. 18—20. Luc 4. 34, 35.

*Gof.* Y mae hynny yn ddigon o hono ei hun i brofi mai'r *Iefu yw y Crift:* o ran nid oes ac ni bu yr un arall cyffelyb iddo ef yn hyn. Ac heblaw hynny, a'i nid oes gan y prophwydi ychwaneg o hynodrwydd yn *ei gylch ef*, yr hyn a ddichon ei amlygu ef ym mhellach?

*A.* Oes, yn ail, fod yfpryd tra rhagorol o ddoethineb a gallu rhyfeddol, nid yn difgyn ar amferau, eithr i aros yn waftadol, ac i *orphwys arno ef*, o herwydd y *blaguryn a gynnydda allan o wreiddyn Jeffe* medd y prophwyd, *yfpryd yr Arglwydd a orphwys arno ef, yfpryd doethineb a deall, yfpryd cyngor a chadernid, yfpryd gwybodaeth ac ofn yr Arglwydd.* A phan unwaith y pennodai'r prif brophwydi yr uniawn flwyddyn, a'r lle y ganwyd ef: hyn oedd ddigon o arwydd i'w amlygu ef rhag arall. Gan ei fod ef fel hyn yn dra rhagorol mewn doethineb a duwioldeb, ac iddo nerth a gallu rhyfeddol: pan edrychom ym mhlith holl *wyr Bethlehem* am y *Meffiah*, ac yn Efay 11. 1, 2.

sicer ar yr amser pennodol hwnnw, o ran ei ragoriaeth rhag eraill, nid eill efe lai na pheri i bob dyn graffu yn fanwl arno.

*Gof* A oes dim ychwaneg yn perthyn iddo ef o ran siccrwydd am hynny?

*At.* Oes, yn drydydd, *y difethid ef megis drwg weithredwr*, drwy farn anghyfiawn: os edrychwn ar ei gyflwr gynt a chwedi, a'i benydiau neillduol: Ac ar ol ei farwolaeth, iddo ddychwelyd o'r bedd, ac ymddangos yn fyw drachefn. Hyn oll y mae'r *salmydd a'r prophwydi* yn ei ragddy-
Esay 53. wedyd am dano ef. *Pan edrychom arno* medd
2, 3. Esay, *ni bydd pryd fel y dymunem ef: dirmygedig yw a diystyraf o'r gwyr.* Y mae efe i'w *fradychu* a'i *werthu* i ddwylo ei wrthwynebwyr am *ddeg*
Zec. 11. *ar hugain o ddarnau arian.* A phan fyddo efe yn
12. eu dwylo hwynt, efe a *fernir* fel *carcharor*; Ei
Es. 53. 8. Esa. 50. 6. *gorph a fflangellir*, a'i *wyneb a boerir arno*; Efe a
Esa. 53 8. *fernir ac a gondemnir*, ac a *dorrir allan o dir y rhai byw.* Ac am ei farwolaeth ef, *trywanant ei ddwylo a'i draed*; a chan osod ei gorph mor dynn ar led,
Sal. 22. medd y *salmydd*, gallant *gyfrif fy holl esgyrn*;
17. Hyn oll sydd yn arwyddo marwolaeth y groes, yr hon ddihenyddiaeth *rufeinaidd* a ddygpwyd i blith yr *Iuddewon*, pan eu gorchfygwyd, yr hyn nid oedd adnabyddus i *Ddafydd brophwyd*, gan hynny yn fwy rhyfeddod i'w fynegi ganddo ef amryw gantoedd o flynyddoedd o'r blaen, gan eglurhau dioddefiadau'r *Messiah.* Y maent heblaw hynny yn adrodd y *geiriau* yn y weithred hon, i ddangos chwerwder ei boenau: a'r *edrychwyr arno*, pa fodd, mor ddideimlad, y gwatworent ef, gan geisio chwanegu ei boenau
Sal. 69. trwy gynnyg iddo *finegr*, a'i *wanu ef* drwodd,
21. medd *Zecariah*, yr hyn a gyfrifai yr hen *rab-*
Zec. 12. *biniaid* yn ddigwyddedig i *Grist.* Ac ar ol ei
10. farwolaeth yr oedd *rhaniad ei ddillad ef, gan fwrw coelbren am danynt. Trywanasant fy nwylaw*

*a'm*

*a'm traed, gallaf gyfrif fy holl esgyrn, rhannasant fy* Sal. 22.
*dillad yn eu mysg, ac am fy ngwisg yn bwrw coel-* 1, 7, 8,
*brennau*; *Fy Nuw, fy Nuw, pa ham y gadewaist* 16—18.
*fi? tra bont yn edrych arnaf, hwy am gwatworant,
gan ddywedyd, ymddiriedodd yn Nuw, gwareded ef,
achubed ef gan ei fod yn dda ganddo.* Y Salm a'r
geiriau hyn o honi, yn ol y llythyren, ni chy-
flawnwyd yn *Nafydd*, medd yr *Iuddewon*. A'r
*testament newydd* sydd yn bwrw at *Grist*. Y lleoedd Mat. 27.
hyn sy 'n rhagddywedyd *moddion ei farwolaeth* a'i 35. 43.
*ostyngeiddrwydd ef.* Ac ar ol ei farwolaeth, y 46.
cyfryw brophwydi sy'n rhagddywedyd *na welai* a Io. 19.
*efe lygredigaeth*, eithr y *dychwelai efe oddiwrth y* 24.
*bedd* at hir a llwyddianus fywyd. Pan *wnelo efe* Esay 53.
*ei enaid yn aberth tros bechod, efe a estyn ei ddyddiau:* 10.
Felly o herwydd ei farw ef yn aberth, yr ydoedd
efe i fod yn wr byw; ïe *ewyllys yr Arglwydd a
lwydda yn ei law ef: Efe a edrych ar ymdaith ei
enaid, ac a fodlonir.* Felly yr oedd efe hefyd i
fod yn wr chwimmwth, mentrus a llwyddianus.
*Am hynny y rhannaf iddo ran gyd â llawer, ac efe a* Esay 53.
*ranna'r yspail gyd â'r cedyrn.* Hynny yw, yn 12.
gyfoethoccaf, a galluoccaf, a mwyaf buddugol-
iaethus ym mysg gwyr: Dyddiau di derfyn,
cadernid a dedwyddwch; hyn oll a roddwyd iddo
ef, nid yn unig ar ol ei farwolaeth, eithr yn wobr
am dani. *Efe a ranna'r yspail gyd â'r cedyrn am
dywallt o hono ei enaid i farwolaeth, a'i gyfrif gyd
â'r troseddwyr.* Sef ei gondemnio a'i roddi i
farwolaeth ym mysg drwg weithredwyr.

*Gof.* Mae yn eglur mai am y *Messiah* y mae
yr holl brophwydoliaethau, eithr a gyflawnwyd
hwy i gyd yn yr *Iesu?*

*At.* Do. Canys tlawd ac ammharchus oedd, Mat. 13.
megis mab y *saer*, *gwerthwyd ef* gan ei was ei hun 55.
er (a) *deg ar hugain o ddarnau arian*, y rhai ni Mar. 6.
wnaent 3.



(a) Mat. 26. 15. sef 3 p. 10 s. 7½ c. yn Arian Lloegr.

wnaent ddim lles i'r *bradwr*: eithr rhagluniaeth
a fynnai fod oedd eu *bwrw i'r crochenydd*, neu
brynu â hwynt *faes y crochenydd* yn gladdfa,
modd y dywed *Zecariah*. Efe a ddodwyd mewn
rhwymau fel carcharor, gan ei arwain o flaen yr
Lu. 22. a *arch-offeiriad*, *Herod*, a'r *rhaglaw rhufeinaidd*; efe
Phen. 23. a gafodd ei *fflangellu*, a *phoeri arno*: hwy a'i
Io. 19. 1. Mat. 26. condemnient ef ac a'i *torrent ymaith* yn ol gair
67. *Esay*, nid yn unig megis drwg weithredwr, eithr
hefyd ym mysg y cyfryw, gan ei roddi ef i
Mar. 15. farwolaeth *rhwng dau leidr*; Ac am ddull ei farw-
27, 28. olaeth, nid oedd *croeshoelio* yn perthyn dim i'r
*Iuddewon*, eithr marwolaeth *rufeinaidd* ydoedd
hi. Ac ar ol i'r *arch-offeiriad* ei gyhoeddi ef yn
Mat. 26 *euog o gabledd*, am yr hyn, yn ol rheol yr *Iuddewon*
65. a chyfraith *Moses*, yr oedd y cyfryw un i'w
Lef 24. *labyddio*: etto wrth ragluniaeth Duw yn ei rag-
16. ordeiniad, efe a ddioddefodd *drywanu ei ddwylo*
*a'i draed*, a'i osod cyn dynned ar y pren ac y
*gellid cyfrif ei esgyrn ef*, yn ol geiriau *Dafydd*. Ac
yn eithaf ei boen (er bod arfer yr *Iuddewon* o
roddi *gwin* a *myrrh* i syfrdanu'r teimlad, ac
esmwythau poenau y rhai a fyddent yn meirw:
etto, er gwirio'r ddywediad) cynnygiasant iddo
Io. 19. *finegr*, er gwneud ei benyd yn llymmach. Yr
28, 29. a *arch-offeiriad gyd a'r sgrifenyddion a'r henuriaid*,
Mat. 27. 34, 48. gan edrych arno mor ddideimlad, o wir wawd a
Mat. 27. ddywedent, *ymddiriedodd yn Nuw, gwareded ef yr*
41, 43. *awr hon os efe a'i mynn ef*: Yr unrhyw eiriau a
ddywedasai'r *salmydd* sanctaidd ers cyd amser o'r
Mat. 27. blaen: ac efe ei hun a waeddodd allan, *fy Nuw,*
46. *fy Nuw, pa ham y'm gadewaist?* Yr uniawn eiriau
drachefn ac a ddywedasai'r *prophwyd* am dano
ef yn ei gyfyngder. A phan ydoedd ef ar y
Io. 19. 34. groes, *milwr* a *wanodd ei ystlys*, ac a'i brathodd
trwodd, medd *Zecariah*. A phan welsant ei
farw ef, y *pedwar milwr*, y rhai a safent yno,
ac a oeddynt i rannu ei ddillad, gan *beidio â*

*rhannu*

*rhannu ei bais ddi-wniad ef, hwy a fwriasant goelbren* Io. 19.
*am dani*, yn ol geiriau 'r *salmydd*. Ym mysg yr 23, 24.
holl ddigwyddiadau rhyfeddol hyn, yr oedd un
arall o ryw nodedig gan y prophwyd *Esay*, sef Esay 53.
*iddo wneuthur ei fedd gyd â'r rhai anwir*, megis 9.
un yn marw am ddrwg; *a chyd â'r cyfoethog yn
ei farwolaeth*: yr hyn a wiried wrth ei amdoi ef
*mewn lliain main*, a 'i gladdu gan *Joseph o Arimathea* Mat. 27.
*yn ei fedd ei hun*, yr hwn oedd *wr cyfoethog a* 60.
*chyngborwr pendefigaidd*. Ac ynghylch ei ddy- Ad. 57.
chweliad i *fywyd drachefn*, i fod yn gadarn a Mar, 15.
llwyddiannus, a gwir ddedwyddol: hynny a 43.
wnaethpwyd yn dra hynod yn adgyfodiad ein
*Hiachawdwr*, ac yn yr annhraethol lwyddiant
i'w grefydd ym mhob lle er hynny hyd yr awr
hon. Ac y mae ei *adgyfodiad* yn unig yn ddigon
i ddangos mai'r *Iesu yw y Messiah*, gan roddi
pob dyn arall heibio. Canys er i *Theudas* a
*Judas*, a gau gristiau eraill (fel y crybwyll *Gamaliel*)
gael eu condemnio, yn haeddiant am eu
twyll, a'u rhoddi i farwolaeth: etto nis gwelwyd
yr un o'r rhai hynny yn fyw eilwaith i ddwyn
eu gwaith i ben.

*Gof*. A oes genych ddim hynodrwydd etto,
ynghylch hyn ?

*At*. Oes, yn bedwaredd, y byddai iddo ef
wneuthur diben o'r *aberthau iuddewaidd*, a'r cyfammod
a roddasai *Foses*, o herwydd eu hammherffeithrwydd;
ac yn lle hynny wneuthur
cyfammod *newydd mwy grasusol a pherffeithiach
rhwng Duw a dyn*. A chan fod hyn yn gyfnewidiad
mor hynod a'i fod yn diddymmu hen ordinhaad
mor alluog a rhagorol yngolwg y byd, nid
ellid lai nâ meddwl y delid sulw ar ddyfodiad yr
amser. *Pan ddel y Messiah* medd *Daniel*, *efe a* Dan. 9.
*wna i'r aberth a'r bwyd offrwm beidio*, ac a *bair* 24, 27.
*i'r aberthau a'r offrymmau*, yn ol cyfraith Moesen,

 na

Jer. 31. *na bont mwy. Wele y dyddiau yn dyfod, medd yr*
31. *Arglwydd, y gwnaf gyfammod newydd â thy Israel,*
*ac â thy Juda:* Ac y mae yn amlwg mai y rhai
hyn oeddynt *ddyddiau'r Messiah* nodedig yn y
ddwyfed adnod ar hugain: yr hwn oedd i fod
yn *gennad, neu angel y cyfammod*, cyfattebol i
*angel presennoldeb Duw* ym mysg yr *Iuddewon*
Ex. 23. gynt, trwy finistriad yr hwn y sefydlodd efe
20. 21. *gyfammod Moesen*, megis y rhagddywedodd *Ma-*
Gal. 3. *laci.* A'r cyfammod hwn oedd i ddangos mwy
19. hynawsedd a helaethach gynnygiadau gras, yr
Mal. 3. 1. hyn a'i gwnai yn gennadwri o *lawenydd; cyhoeddiad*
Zec. 9. *tangnefedd ac iachawdwriaeth, dyfodiad newyddion da,*
9. *rhwymwr calonnau ysig, a chyhoeddwr rhydd-did i*
*garcharorion, a phregethwr blwyddyn gymmeradwy*
Esay 52. *yr Arglwydd* medd Esay: *yr oedd i faddeu anwiredd*
7. a medd Jeremi: *gan wneuthur cymmod trosto*, medd
Phen. 61. Daniel, *i egor ffynnon i olchi ymaith bechodau ac*
1. 2. *aflendid*, medd Zecariah.
Jer. 31. *Gof.* A gyflawnodd yr *Iesu* yr holl bethau
34. hyn?
Dan. 9.
24. *At.* Do. Efe a gymmerodd ymaith iau galed
Zec. 13 1. *Moses; ac a ddiddymmodd ei holl ordinhadau ef, gan*
Col. 2. 14. *eu hoelio hwynt wrth ei groes.* Efe a gyflawnodd
yr holl aberthau cyntaf, ac a waharddodd y rhai
Heb. 9. diweddaraf *trwy unwaith offrwm yr un aberth honno*
25. 26. *o'i eiddo ei hun.* Efe a ddaeth â *chyfammod new-*
*ydd*, cyfreithiau yr hon sy'n oleuach i'n dealltwr-
iaeth ni o gymmaint a'u bod wedi eu hargraffu
Jer. 31. yn ein calonnau a'n meddyliau, yr hyn a'u gwna
33. hwynt *yn haws eu cofio:* Megis y mae y (*a*) *rab-*
Heb. 8. *biniaid* yn cofio i *Foses* addaw mai *cyfraith y Messiah*
10. *a gymmerai ei lle:* Ac y mae'r drugaredd honno
yn cyrraedd maddeu mwy o bechodau nag a ellid
fyth obeithio am dano ynghyfraith *Moesen.* Canys
am *lofruddiaeth*, neu *odineb* tan y gyfraith honno,
ni

(*a*) *Mr Smith* of a Legal Right. ch. 2. out of *Bresbith Rabba.*

ni chymmerai *Dduw aberth am danynt*. A *Dafydd* a ddywed yn achos *Uriah* yr un peth. Nac am *eilun addoliaeth*, nac am roddi *had i Foloch*, nac am *ymofyn â swynwyr*, nac am *fellditbio rhieni*, nac am *aflendid* neu *ymlosgach*, neu *gymmysgedd anifeiliaidd*: y rhai hyn oll *yn ddiau a roddid i farwolaeth* yn ol gorchymmyn Duw. Ac yn gyffredinol, am unrhyw *drofeddiad rhyfygus anwireddus*, y cyfryw *medd y gyfraith, ni chymmerid aberthau am danynt*, eithr yr oeddynt i orphwys ar y *troseddwyr*, *a hwy a lwyr dorrid ymaith*, ac a fyddent *feirw heb drugaredd*. Ie tan y gyfraith yr oedd melltith gyhoeddedig, nid yn unig i'r rhai a'i troseddent hi, ond hefyd *i'r rhai oll na pharhaent yn holl eiriau y gyfraith hanno, gan eu gwneuthur hwynt*. Ond am yr holl bechodau anfaddeugar hyn *yng nghyfraith Moesen*, ein *Hiachawdwr* sydd yn cyhoeddi maddeuant i ddynion ar eu gwir edifeirwch, trwy ei *gyfammod newydd ei hun*: Drwy yr hwn, medd *S. Paul*, *pob un a gretto a gyfiawnheir oddi wrth ei holl bechodau, y rhai nid ellid drwy gyfraith Moses gael cyfiawnhaad oddiwrthynt*.

Lef. 20. 10. Sal. 51. 16. Deut. 17. 2, 3. Lef. 22. 2, 6, 9, 11—13, 15, 16. Num. 15. 30, 31. Heb. 10. 28. Deut. 27. 26. Gal. 3. 10. Act. 13. 38, 39.

*Gof*. A oedd iddo ef wneuthur dim yn rhagor i hyn?

*At*. Oedd. Yn bummed, *adeiladu teyrnas, ac ymddangos megis cadarn dywysog*. *Y llywodraeth fydd ar ei ysgwydd ef, ac ar ei helaethrwydd ni bydd diwedd, ar orseddfa Dafydd, ac ar ei frenhiniaeth ef, i'w threfnu ac i'w chadarnhau â barn ac â chyfiawnder, hyd bytb*. Ac ni bydd hyn i'r *Iuddewon* yn unig, lle yr oedd *eglwys* Dduw yn rhwymedig o'r blaen: eithr ar y *cenhedloedd* hefyd, y rhai a ddeuent oll i mewn gan ymddarostwng iddo ef. *Gwreiddyn Jesse, yr hwn a saif yn arwydd i'r bobloedd, a'r cenhedloedd a ymgeisiant ag ef*. *Wele fy ngwas a ddwg allan farn i'r cenhedloedd yn iachawdwriaeth hyd eithaf y ddaear*. *I'r hwn sydd yn ffiaidd gan y genedl, y cyfyd Brenhinoedd; Tywysogion*

Esay 9. 6, 7. Esay 11. 10, 12. Esay 42. 6. Esay 49. 22, 23.

*Tywysogion hefyd a ymgrymmant: cyfodaf fy llaw at y cenhedloedd, a dygant dy feibion yn eu monwes, a dygir dy ferched ar ysgwyddau: Brenhinoedd hefyd fydd dy dadmaethod, a brenhinesau dy fammaethod: crymmant it' ai'u hwynebau tu a'r llawr, a llyfant lwch dy draed.*

*Gof*. Ped fuasai i'r *Messiah* ymddangos fel rhyw *dywysog* daearol, a dyrchafu llywodraeth freiniol tros yr holl genedlaethau, fe fuasai yn hawdd gwybod pwy ydoedd.

*At*. Dim haws nâ gwybod pwy ydyw *brenin Prydain fawr*, *ymerodr yr Almaen*, *neu ymerodr y Tyrciaid*, y rhai nid adwaenir ond o herwydd eu hymerodraeth, a'u llywodraeth ar eu deiliaid eu hunain: gwr o uchel gynneddfau, yn ddiammeu, a bair i lawer chwennych ei adnabod.

*Gof*. A sefydlwyd y cyfryw deyrnas gan yr *Iesu*?

*At*. Do. Canys efe a gleimiodd ei hawl i'w frenhiniaeth ger bron *Pilat*. Ac y mae ei freiniol lywodraeth hefyd ar y ddaear. Ei frenhiniaeth ef sydd yn cyrraedd tuhwnt i'r *Iuddewon*, a thros lawer o genhedlaethau eraill: Teyrnwiail llawer o *dywysogion* a ddarostyngwyd i'w deyrnwialen ef, gan orfoleddu yn ei wasanaeth: a chyfrif *ymddiffynwr y ffydd**, *mwyaf Cristianogol*†, *neu gatholic*‖ frenhinoedd, yn ardderchowgrwydd i'w *titlau*.

Io. 18. 37.

*Prydain. †Ffrainc. ‖ Spain.

*Gof*. Eithr pa fodd y mae efe yn cael ei gyfrif yn frenin mor alluog, gan nad ymddangosodd mewn gwychder, a'r weinidogion yn ddisglair ac yn gedyrn o'i amgylch; a llysoedd teg i farnu, a moddion ganddo i gyflogi byddinoedd cryfion i ymddiffyn ei wlad; a chanddo wasanaethwyr rhagorol; a modd i gospi, carcharu, a dihenyddu, er dial ar ei ddeiliaid troseddgar, a'r cyffelyb?

*At*. Hynny yn wir, o bob peth arall, oedd y *maen tramgwydd* i'r *Iuddewon*, y rhai a ddisgwylient

iachawdwr

Iachawdwr daearol, neu frenin a'i deyrnas o'r byd hwn, mewn rhwysg a mawredd. Eithr thagaddewidion y *prophwydi* oeddynt i'r gwrthwyneb mewn perthynas i ymddangosiad y *Messiah*
*oddi allan*. Esay a eilw *Grist*, *yr hwn a ddirmygwyd,* Esay 49.
*ac a ffieiddiwyd gan y genedl, gwas llywodraethwyr.* 7.
*Efe a gyfyd fel blaguryn, ac fel gwreiddyn o dir sych,* Esay 53.
*nid oes na phryd na thegwch iddo, nid oes iddo bryd* 2, 3.
*fel y dymunem ef, y mae ef yn ddirmygedig a diystyraf o'r gwyr, gwr gofidus a chynnefin a dolur, ac yr oeddem megis yn cuddio ein wynebau oddi-wrtho, fel* yn gywilydd genym ei gyfaddef.

Wrth yr hanes hwn, yr ydoedd ei ddyfodiad yn rhy wladaidd i fod yn frenin. Eithr ei deyrnas gyhoeddedig ef oedd i fod yn *ysprydol*, gan roddi cyfreithiau, nid i achosion cyffredinol oddi allan yn unig, eithr hefyd i galonnau a chydwybodau dynion; a'u cynnorthwyo trwy ragluniaeth anweledig, ac ysprydol gymmorth, gan wobrwyo a cheryddu, nid ag amserol, ond â thragywyddol haeddedigaeth: nid gan son am feistrolaeth wledig ar gyrph ac eiddo dynion, neu bethau perthynol i'r byd yma, eithr yn gadael hynny yn y dwylo lle yr oeddent o'r blaen. A dyma'r frenhiniaeth yr hon a gleimiai ein *Hiachawdwr* o flaen *Pilat*, gan ddywedyd *ei fod ef yn frenin, ond nad oedd ei*
*frenhiniaeth ef o'r byd hwn; pe o'r byd hwn y* Io. 18.
*buasai, ei weision a ymladdasent i'w waredu ef o* 36.
*ddwylo'r Iuddewon.*

*Gof.* A oedd y *Messiah* i wneuthur dim arall, fel yr amlygid ef ym mhellach?

*At.* Oedd, yn chweched, efe oedd i droi y
rhai *di gred* oddi wrth *eulynod*, ac i wneuthur i Esay 2.
*gau-dduwiau'r paganiaid* syrthio o'i flaen ef. *Yn* 20.
*y dydd hwnnw* (medd *Esay*, gan grybwyll am Esay 2.
*deyrnas Crist* dros yr *Iuddewon* a'r *Cenhedloedd*) *yr* 17, 18.
*Arglwydd yn unig a ddyrchefir, a'r eulynod a fwrw*

*efe*

Zec. 13. 2. *efe ymaith yn hollawl. A bydd y dwthwn hwnnw, medd Arglwydd y lluoedd, im' dorri enwau'r eulynod allan o'r tir, ac nis cofir hwynt mwyach.* Yna *yr holl genhedloedd a'i gwasanaethant ef, yr holl*
Sal. 72. 11, 17. *genhedloedd a'i galwant ef yn wynfydedig.*

*Gof.* A fu i'r *Iesu* gyflawni yr holl bethau hyn ar ei ddyfodiad?

*At.* Do. Efe a yrrodd y coeg ysprydion allan o'u temlau, ac a'u distawodd hwynt yn eu holl oraclau a'u dewiniaethau eraill; ac a yspysodd i'r byd mai cythreuliaid oedd y rhai a wasanaethent hwy hyd y dydd hwnnw yn lle duwiau; ac nad oeddynt dduwiau y rhai a wneid â dwylo. A hynny a droes laweroedd o rai di-gred yn Gristianogion.

*Gof.* Y rhai hynny, gan droi yn Gristianogion, ydynt brawf hynod o ddymchweliad y gau dduwiau: o herwydd y gradd cyntaf o Gristianogrwydd yw *ymwrthod â Diafol, ac â phob eilunol dduwiau.* Eithr pa fodd y dangosir roddi o hono ef godwm i'r oraclau a phob swynyddiaeth arall mor arddderchog ym mhlith eu haddolwyr?

*At.* Fel yr oedd ei enedigaeth ef yn nesau, yr oeddynt hwythau yn colli eu lleferydd: Duw oedd yn cau eu geneuau twyllodrus hwynt er mwyn distawrwydd i wrando ar ei dragywyddol air ei hun. *Apolo* fawr y pryd hwnnw, oedd mor brin o'i attebion hyd nad oedd *Cicero** yn meddwl fod ei oracl ardderchog ef yn *Delphos* wedi tewi yn ei ddyddiau ef. Ac er iddi atteb weithiau, pan ddaeth crefydd yr Arglwydd ar y ddaear, rhoddwyd clo ar ei genau ag † agoriad *di ymadrodd mwy*, fel y dywed hi ei hun mewn *atteb o ffarwel*, yr hwn a ysgrifennwyd gan *Porphyrius* (a) ei phen-ceidwad. Ac felly y cauwyd genau *Jupiter Ammon*, a'r holl ysprydion aflan

* *De Divinat.* l. 2.

† Allwydd.

(a) *Vid. Euseb. Præp. Evang.* l. 5. c. 16.

aflan a'r oeddynt orcheſtol mewn oraclau. Yr oedd ſyndod mawr ym mhlith addolwyr y rhai hynny: *Plutarch* yr hwn oedd *bagan* dyſgedig, ac yn byw ynghylch can mlynedd ar ol *Criſt*, a yſgrifennodd (*a*) *lyfr* o'r hanes, yr hwn ſydd etto i'w weled, lle y mae efe yn ymorol yn fanwl am yr achoſion o hynny.

*Gof.* Myſi a welaf nad oes mor ammheuaeth am eu diſtawrwydd hwynt: Eithr ai'r *Ieſu* oedd yr achos o'u diſtawrwydd?

*At.* Eu hymddiffynwyr eu hunain a ddywedent mai efe oedd yr achos o anfon y demoniaid o blith dynion, nid yn unig o'r oraclau eithr allan o ddynion hefyd. *Er pan ddechreuwyd addoli'r Ieſu*, medd (*b*) Porphyry, *nid yw'r duwiau yn ymddiddan â dynion, na neb yn derbyn lleſhaad oddiwrthynt.* Ie, yr yſprydion gorchfygedig eu hunain, gan roddi amryw dyſtiolaethau o honaw ef, pan oedd efe yn eu gyrru hwynt o'i wydd yma ar y ddaear, oeddynt yn cyfaddef hynny yn eu horaclau: Canys pan oedd *Auguſtus* (yn amſer yr hwn y ganwyd ein *Hiachawdwr*) yn gofyn i *Apolo*, *pwy a fyddai yr ymerodr ar ei ol ef*, ei atteb oedd, medd (*c*) *Suidas*, fod *bachgenyn Hebræg, yr hwn oedd yn rheoli'r Duwiau bendigedig, yn erchi iddo ef fyned i annwfn, ac aros yno.* Ac felly nid attebai *Apolo* mo honaw ef mwy. Ar ol hynny yn nyddiau *Diocleſian*, fel y dywed (*d*) *Conſtantine* (yn ei *lyfr ordinhaad i ardaloedd y dwyrain*) fod iddo ef roddi allan atteb arall, gan gyhoeddi *nad allai efe roddi ond atteb ar draws amcan, o herwydd y gwyr cyfiawn a oeddynt ar y ddaear.* A phan ofynodd *Diocleſian* pwy rai oeddynt, yr offeiriad a'i hattebai,

(*a*) Περὶ τῶν ἐκλελοιπ. χρησηρ.
(*b*) *Vid. Euſeb. Præp. Evang.* l. 5. c. 1. & *Theodor. de curand. Græc. Affect.* l. 10.
(*c*) Dan Αὐγȣ̃ς@ Καῖσαρ.
(*d*) *Euſeb. de Vit. Conſtant.* l. 2. c. 50, 51.

hattebai, mai'r Cristianogion oeddynt. Constantine fydd yn cyhoeddi, gan alw Duw yn dyst, iddo glywed llafaru yr atteb hwnnw, pan oedd efe yn was i'r ymerodr. Ac yn nheyrnasiad (a) Julian, yr hwn oedd ganddo deml yn Daphne, ac oracl orchestol; a theml i'r Cristianogion gyferbyn â hi: pan osodwyd esgyrn y merthyr Babylas yno, yr oracl yn y deml a aeth yn fudanes. A phan oedd Julian yn daer arni am atteb trwy aberthau: o'r diwedd hi a ddywedodd fod y cyrph meirwon hynny yn rhwystr iddi. Yr ymerodr (gan wybod hynny yn dda) a dynnodd allan arch Babylas drwy ddwylo'r Cristianogion. Pan fyddent yn ymofyn drwy aberthau, os byddai ond gweinidog gwael o'r Cristianogion yn sefyll gerllaw, yr ysprydion drwg a ffoent ymaith heb roddi yr arwydd arferol; a'u prophwydi a ffoent. Ac achwynion o'r achos yma wrth yr ymerodron ellungar, oedd, yn fynych, yr achlysur i erlid y Cristianogion, medd (b) Lactantius. A hynny a greulonodd Ddiocletian i ddechreu ar ei erlidigaeth, yr hon oedd y fwyaf gwaedlyd o'r cwbl oll. Canys ei ddigofaint yn erbyn y (c) Cristianogion, oedd o herwydd eu presennoldeb yn ei wlad; a'u proffes o ffydd yn yr Iesu yn rhoddi taw ar ei dduwiau, a rhwystr i'w aberthau. Canys os byddai yr un o'r Cristianogion yn agos, er amled yr aberthau, nid oedd atteb i'r gwr creulon hwn. Ie ym mhellach (nid er dangos gallu Crist ef hun, eithr gallu 'r Cristianogion hefyd trwyddo ef) Tertullian (d) a ddymunai ar yr ymerodr gyrchu rhyw un o berchen yspryd aflan, a'i gyfleu ef ar gyfer yr orseddfaingc: yna gosod rhyw Gristion gwael i ofyn iddo ei hanes am dano ei hun: addammeu, medd efe, y bydd i'r cyfryw ei gyfaddef ei

(a) Sozom. Hist. Eccl. l. 5. c. 19. & Theod. Hist. Eccl. l. 3. c. 10. & Chrys. Homil. al. S. Bab.
(b) Instit. l. 4. c. 27. (c) De Mort. Persecut. c. 10.
(d) Apol. c. 23.

*ei bun mor gwbl yn gyfbraul ac oedd yn ddaw o'r blaen.* Yr un peth a brofir gan *Minutius Felix** yn ei lyfr yn erbyn y rhai *di-gred.*

* *De Idol. Van.* p. 30.

*Gof.* Gan fod y ddymchweliad hon mor hynod (a maint gwrthwyneb oedd i gymmaint o genhedlaethau) nid allai lai na bod yn syndod i'r holl fyd, ac yn siccr o ran yr amser y digwyddodd ?

*At.* Nac allai, ac nid heb achos: Canys ar ol marwolaeth ein *Hiachawdwr*, eithaf dyfais gwyr a roddwyd ar waith, a dwylo'r ysgrifenyddion doethaf oeddynt brysur; ac felly yr oedd callineb llywiawdwyr. Pen swyddogion a dynnent gleddyfau yn erbyn y rhai duwiolaf o'i ddeiliaid. Hwy a osodent ferthyron bendigedig o flaen anifeiliaid gwylltion, a phob math ar arteithiau a lladdiadau dros holl ymerodraeth *Rhufain*, a mannoedd eraill, tros hir oesoedd. Y fuddugoliaeth hon a gafodd y *Messiah* dros *Satan* a barodd fwy o dwrst a syndod nâ chodwm y deyrnas gadarnaf erioed.

*Gof.* Heblaw'r dystiolaeth ryfeddol mewn cyflawniad rhagaddewidion, ai nid oedd y cyfryw ffyniant i grefydd *Crist* yn diddymmu'r eilunod, yn dangos fod Duw ynddo ef ?

*At.* Oedd yn ddiammeu. Canys pan fai math yn y byd ar grefydd wedi llwyddo dros hir oesoedd drwy arferiad, gan helaethu ei hawdurdod, nid hawdd y dadwreiddid y cyfryw. Ond crefydd *Crist* oedd yn cael ei llunio yn wrthwynebiad i'r cyfryw; gan gymmeryd ei sylfaen ar hunan ymwadiad a gostyngeiddrwydd, a'u peryglu eu hunain â dioddefiadau drwy ffyrnigo dynion ac ysprydion drwg, o achos rhoddi absen i'r duwiau yr oedd *brenhinoedd a phen-llywiawdwyr* yn eu hoffi; a phregethu yn erbyn *offeiriadau*, y rhai oeddynt y pryd hwnnw yn arwain cydwybodau dynion; a chyhoeddi ger eu bronnau mai twyllodrus ac anwireddus oeddynt. Pan safent yn erbyn awdurdod

durdod cyfreithiau, a challineb philosophyddion, a gallu penswyddogion, a chynnhyrfiadau terfysgoedd, a thueddiad pawb oll. Pan fwriadent ddadwreiddio yr ordinhadau cadarnaf o'r hen amseroedd, a gwneuthur cyfnewidiad yn y grefydd fwyaf cymmeradwy gan deyrnasoedd, dan yr hon y gwnaethai Dduw eu rhieni hwynt yn bobl lwyddiannus, megis yr oedd y *Rhufeiniaid*. Pan ddigwyddai hyn, meddaf, drwy ychydig ddynion anllythrennog, di-gynnorthwy; a phan feiddient hwythau berffeithio, nid trwy ddichell a thraws amcanion, nac ymadroddion ffraeth, neu hudoliaeth ystrywgar, ond gan ddywedyd yn llariaidd yr hanes berthynasol i'r *Iesu* mewn gobaith llwyddiant, nid trwy ymladd, eithr trwy ddioddef er ei fwyn. Ie, tra byddai eu crefydd mor anghynnefinol iddynt, a'r dysgawdwyr mor waelion, yn gorfod dioddef pob math ar wrthwynebiadau heb addewid dyrchafiaeth, ond pob peth yn fawr yn eu herbyn, ac er hynny yn ymledu dros y byd, pan oedd pob gallu gweledig yn ymwneuthur i'w hanfon allan o'r byd. Mae hyn yn dangos fod iddynt gynnorthwy *anweledig*; a bod Duw yn amcannu gwneuthur ei grefydd yn llwyddiannus: Afraid yw dangos pa fodd y digwyddodd i'r *Cristianogion* ym mhob rhan neillduol.

*Gof.* Y prophwydoliaethau hynny a bennodent amser dyfodiad yr *Iesu*, a brofent mai efe oedd y gwir *Fessiah*, o herwydd na chyfododd yr un arall i ymryson ag ef yn yr amser pennodol hwnnw; a phe'i cyfodasai, y mae'r arwyddion a roddwyd mor eglur ac mor ddidwyll, ac mai agos i ammhosibl yw na roent fodlondeb i bob ymorolwr rhesymmol, mai'r *Iesu*, ac nid neb arall, yw y *Crist*?

*Att.* Felly y mae; a phwy bynnag a fesurai ddull ei weithredoedd wrth yr arwyddion a roddasai'r

asai 'r prophwydi am dano ef amryw gantoedd o flynyddoedd o'r blaen, efe a gai fodlondeb. Canys pe'd fuasai i ryw gau grist ymddangos yn yr amser hwnnw (yr hyn trwy ragluniaeth Duw nis digwyddodd) etto fe a fuasai yn hawdd gwybod nad y cyfryw oedd y gwir *Grist*; yn un peth, o ran nas ganesid ef o forwyn bur, yr hyn nid allodd neb roddi hawl iddo ond ein *Hiachawdwr*. Ac er gallu o'r gau grist ar amserau, ryw swyngyfaredd (megis y swynwyr y mae *Josephus* yn son am danynt) etto fe a fuasai un ai duwioldeb ar ol, neu fod heb yspryd ganddo i iachau wrth achosion, neu i fwrw allan gythreuliaid o bob rhyw a rhifedi, yr hyn ni feddianodd neb ond yr *Iesu* yn unig. Neu os buasai iddo ddioddef marwolaeth yn haeddiant am hudoliaeth, etto nid yr un farwolaeth ac a ragddywedpwyd, na'r digwyddiadau y rhai a bennodwyd i'r *Iesu*, a fuasent. Ac ni chyfodasai'r cyfryw grist oddi wrth y meirw, modd y cyfododd yr *Iesu* yn yr amser addawedig. Ac ni buasai'r cyfryw un yn awdur y cyfammod newydd, yr hwn oedd yn cyflawni diffygiadau'r hen gyfammod ar *fynydd Sinai*. Ac ni buasai iddo sefydlu teyrnas, a derbyn y *Cenhedloedd* yn gystal a'r *Iuddewon* iddi: Ac ni buasid yn ei addoli ar ei enedigaeth gan frenhinoedd a brenhinesau; ac ni throisai efe y byd digred oddi wrth eilunod; ac nis gyrresid y cythreuliaid ganddo allan o'u temlau, megis y gwnaethpwyd gan yr *Iesu* ar ei ymddangosiad gogoneddus.

*Gof.* Eithr ai nid yw *Esay* yn rhagddywedyd mai yn nyddiau'r *Messiah*, *y trig y blaidd gyd â'r oen, a'r llewpard a orwedd gyd â'r mynn, a'r plentyn sugno a chwery* yn ddiogel *wrth dwll yr asp, ni ddrygant, ac ni ddifethant yn holl fynydd sancteiddrwydd* yr Arglwydd. Ac y byddai i *ddynion guro eu cleddyfau yn sychau, a'u gwaywffyn* Esay 11. 6—9. Esay 2. 4.

 yn

*yn bladuriau*; *ni chyfyd cenedl gleddyf yn erbyn cenedl, ac ni ddysgant ryfel mwyach.* Wrth y rhai hyn a'r cyfryw addewidion, yr oedd y *Messiah* i ddwyn rhinweddau tra rhagorol i fewn, a thangnefedd hollawl ar y ddaear. Eithr pa fodd y geill hyn fod ynghanol yr holl chwerwedd, ymryfonau a rhyfeloedd gwaedlyd ym mhlith y *Cristianogion*?

*At.* Nid ydyw'r prophwydoliaethau hyn yn fon am bob rhyw ddynion yn ei ddyddiau ef, eithr yn unig am ei wir ddilynwyr ef, sef y rhai a ymroddant dan lywodraeth a chyfreithiau'r brenin *Messiah*. Canys yr hyn a geidw bob *niwaid o'u*
Esay 11.9. *mysg hwynt*, medd Esay, *yw llawn wybodaeth o'r Arglwydd*, yr hyn sydd yn pennodi y rhai a arferant y peth y bont yn ei wybod. Ac medd efe drachefn, y rhai hynny a *gurant eu cleddyfau yn sychau*, ydyw'r
Esay 2.4. *bobl lawer* y rhai a *geryddir gan y Messiah*, yr hyn sy'n arwyddo eu *gwellhaad wrth ei gerydd ef.* Y rhai hyn a fyddant yn ddyfal a duwiol, cydwybodol ac ufudd: gan ddywedyd wrth eu gilydd,
Esay 2.3. *deuwch ac esgynwn i fynydd yr Arglwydd, i dy Duw Jacob, ac efe a ddysg i ni ei ffyrdd.* Eithr am lesbaad y rhinwedd hon, ni pherthyna i'r rhai nid ydynt amgen nâ bod yn Gristianogion o ran enw, nag i'r bobl yn gyffredin; ac nid yw yn cyttuno yn dda â naturiaeth dynol ryw, yr hon sydd gymmysgedig ag amryw fath ar ddrwg anwydau a thraws-ymddygiadau, nac yn atteb i'r addewidion sy'n fon am lawer o anwireddau ar ol dyfodiad y *Messiah*, ac am lawer sy'n glynu fyth wrth eu hen ffordd anwireddus: rhaid oedd i'r prophwydoliaethau hynny gael eu cyflawni yn gystal a'r lleill.

*Gof.* Ond os yw digwyddiad y doniau hyn dan ammodau, pa ham y bu iddynt gael eu cyhoeddi mor gyffredinol yn yr addewidion? Ai nid rhyfedd yw fod addewid o fendith mor gyhoeddus

dan

dan y *Messiah* heb fod ond rhyw rai a'i meddianant?

*At*. Nage, canys mae yn rhaid iddynt hwythau wneuthur eu rhan o un tu ar haeddu'r cyfryw ddoniau heddychol; yr *Iesu*, yn wir, a gwblhaodd ei ran ef, gan roddi cyfraith mor dueddol i gynnal heddwch, a'i bod yn cymmeryd ymaith yr holl ddefodau gwahanedig ynghyfraith *Moesen*, y rhai oeddynt mor dueddol i wneud ymrafael rhwng yr *Iuddewon* a'r *Cenhedloedd*. *Ezeciel* sydd yn crybwyll (pan y mae Duw yn addo *symmudo ymaith ffieidd-dra'r eilunod*) am rai a fynnent lynu wrthynt rhagllaw, yr hyn oedd yn dirwyn ei ddigofaint ef arnynt. A *Jeremi* sydd yn dywedyd mai er bod Duw yn addaw i'w bobl *gael byw drachefn yn eu gwlad eu hunain* yn dduwiol ac yn *heddychol*, i'w cyndynrwydd hwythau wneud i'r peth ddigwydd mewn modd arall.

Ezec. 11. 18, 21.

Jer. 32. 37, &c.

*Gof*. Ond er nad ydyw'r prophwydoliaethau yn addaw i bawb fyw felly ar ddyfodiad y *Messiah*, etto gellir meddwl y bydd i rai wneuthur yn dda, ac na fynnent wneuthur yn amgen; ac i dduwioldeb, heddwch a barn, amlhau yn ddirfawr yn y byd ar ol ei ymddangosiad ef. A gyflawnwyd hynny trwy ddyfodiad yr *Iesu*?

*At*. Do, yn yr amser oedd cyntaf. Canys pan oedd y *Cristianogion* yn byw'n rhinweddol ac yn garedigol tuag at eu gilydd: (*a*) *gwelwch*, meddai'r Cenhedloedd digred, *fel y mae'r Cristianogion yn caru'r naill y llall*. Canys y cymmydogion goreu oeddynt hwy, mor bell oddiwrth gynnyg camwedd, ac na fynnent adgofio'r camweddau a dderbynient ond mewn gweddiau a hynawsedd. Yr oeddynt yn fwyaf heddychlon o ddeiliaid, yn gorchfygu creulonder a thrais eu herlidwyr, nid gan ymladd eu ffordd drwyddynt, ond drwy amynedd danynt. Ac yn y modd hynny yr oedd



(*a*) *Tertul. Apol.* c. 39.

ei grefydd ef yn ymystyn bob amser arall ym mhlith y rhai a fyddent Gristianogion mewn gwirionedd. Hyn oedd yn adgyweirio tymmerau heddychlon, yn pereiddio rhai chwerwon, ac yn gwastattau rhai geirwon, dan ddwyn y dynion mwyaf anghyttunol o ran cyflwr, awdurdodau a chadernid i fyw yn gymdeithgar. Yn wir, nid pob math ar ddynion a wnair felly, yn dduwiol, yn gyfiawn, ac yn hynaws, megis na wiw disgwyl hynny yn y byd yma: canys dynion a fynnant fod yn ddynion; a dangos dynol greulonder a chroesni dan y gyfraith a fynnoch. Ond etto, y mae cyflwr y byd yn gyffredinol wedi gwellhau llawer, a phob peth at eu gilydd mewn teccach moddion a chymmhwysach trefn: a phob rhinwedd a duwioldeb mewn amgen cymmeriad, a thrawster yn cael ei ffrwyno, a chwerylon i fewn ac allan yn cael eu gostegu yn fynychach, a'u cymmodi mewn deheuach modd er dyfodiad ein *Hiachawdwr* nag yr oeddynt o'r blaen. Ac er nad yw'r gwellhaad rhinweddol hwn ond ychydig o ran cyfleustra bydol, etto, mae'r byd yn llawer amgenach o ran pob peth gyd a'u gilydd, nag oedd yn nyddiau anwybodaeth y rhai digred. A hyn sydd yn gymmaint perffeithrwydd ac sydd resymmol i'w ddisgwyl o'r cyfryw brophwydoliaethau: y rhai a lafarwyd gan ddynion yn byw ynghanol profedigaethau naturiol o'r naill du, a than beryglon digofaint o'r tu arall: Gan hynny nid ellir pwyso arnynt ym mhellach nag y cynnwys yr ystyriaeth o gyflwr y byd a dynol nattur. Eithr os bu iddynt ddywedyd am effaith mwy helaethach nag a berffeithiwyd hyd yn hyn: y mae etto amser ar ol, cyn gorchymyn o *Grist y deyrnas i Dduw'r Tad*, ym mha un y maent i'w gorphen. Canys o'r addewidion tan y *Messiah*, rhai a ddaethant i ben yn y cyntaf, ac eraill yn rhediad yr amser a gyflawnwyd; eithr y mae

llawer

llawer ar ol, o'r rhai na pherffeithir tan yn agos i *ddydd y farn*.

*Gof*. Chwi a roddasoch lawn ddangosiad am yr *Iesu* mai efe yw y *Crist*, yn ol yr hen *brophwydi*, lle yr wyfi yn canfod mor gymmwys yn y *datguddiad* y gelwir *yspryd prophwydoliaeth* yn *dystiolaeth Iesu*. A ydyw'r *Iuddewon* (wrth y rhai y llafarai'r prophwydi oll, a'r rhai oeddynt yn ymofyn â'r *oraclau*) yn deall mai'r *Messiah* yr oedd y mannoedd hyn yn ei addaw, wrth weled eu cyflawn berffeithrwydd yn nyfodiad yr *Iesu*? Dat. 19. 10.

*At*. Yr hen *Iuddewon*, o flaen dyfodiad *Crist*, oeddynt yn deall yn gyffredinol, medd *rabbi Nehumias* ac eraill, canys yr oeddynt yn ei ddisgwyl ef yn yr amser pennodol wrth addewidion. Ac felly y gwnai lawer o'r doctoriaid enwoccaf, fel y dangosai ysgrifenyddion dysgedig o honynt eu hunain. Eithr amryw o'r rabbiniaid diweddaraf (heb feiddio gwadu cyfattebiad y digwyddiadau yn yr *Iesu*) a wyrdroent y lleoedd hyn o'r ysgrythyrau yn groes i'w hamcanion, a disgwyliad eu hynafiaid i amrafael fwriadau, gan wadu eu crybwylliad am y *Messiah*. A'r achos nad oedd yr *Iuddewon* diweddaraf o'r un gyfaddefiad â'u rhieni ynghylch dyfodiad *Crist*, oedd, oblegid fod eu rhieni (y rhai yr oedd eu hamser yn agos i'r prophwydi) yn ystyried ei ddyfodiad megis llesihaad ysprydol i'r holl fyd, ac mai hynny oedd disgwyliad y prophwydi yn ei gylch ef: Eithr ym mhlith yr *Iuddewon* ar ol dyfodiad *Crist*, yr oedd llawer iawn (wrth ystyried eu colledion am fanteisiau bydol) a ddewisent wadu pob peth yn hytrach nâ chyfaddef mai'r *Iesu oedd y Messiah*.

# PENNOD III.

## *Yn profi mai'r* IESU *yw y* CRIST *wrth dystiolaethau Nefolaidd eraill.*

### Y CYNNHWYSIADAU.

1. *Yn profi mai'r* Iesu *yw y* Crist; 2. *Profi hynny oddi wrth dystiolaeth* Ioan *fedyddiwr.* Ioan *a wyddai hyn trwy ddatguddiad, ac a sicrhawyd iddo trwy arwydd. Yr oedd efe yn brophwyd wrth gyfaddefiad, ac o'r glod egluraf a hynottaf. Efe a roddes y dystiolaeth hon cyn caffael cydnabyddiaeth â'r* Iesu. 3. *Oddi wrth dystiolaeth yr* Iesu *ei hun: amryw ystyriaethau yn dangos grymmuster y dystiolaeth hon, o ran ei bod yn ei achos ef ei hun.*
Io. 5. 31. *Nid yw hyn yn gwrthwynebu geiriau* Crist. *Nac yn rhoi na llun nac esgus i un rhyw ysprydoliaeth ynfyd.* 4. *Oddi wrth ei wyrthiau. Nid yw y rhai hynny ryfeddodau anwireddus, o herwydd yn ddangôsedig mewn amryw foddion nad ellir mo'u cyffelybu gan ysprydion drwg. Megis* 1. *rhagddywediad pethau i ddyfod. Rhagddywediadau ysprydion drwg ym mysg y* Cenhedloedd. 2. *Dirnad calonnau a meddyliau.* 3. *Cyfodi'r meirw.* 4. *Bwrw allan gythreuliaid o'r rhyw greulonaf, ac o'r rhifedi a'r cysylltiadau mwyaf. Gellir deall y rhai hyn wrth eu bwriad a'u medr, ac wrth eu rhifedi, a'r moddion o'u trin hwynt. Dim o wyrthiau* Moses *yn erbyn gwyrthiau* Crist, *o ran eu gwneuthur i ddiddymmu cyfraith* Moses. *Y gyfraith honno a roddwyd mewn bwriad i'w chyfnewid. Pa fodd y mae amryw o'u hordinadau yn cael eu galw yn ddeddfau tragywyddol.* 5. *Oddi wrth dystiolaeth y* Tad, *yr hwn a gyhoeddodd mai'r* Iesu *oedd y* Crist *trwy leferydd glywedig. A thrwy ei*

*ei gyfodi ef oddiwrth y meirw, a'i ddangos mewn meddiant o'i gymmeriad arno.*

## Y Bennod yn canlyn.

*Gofyn.* HEBLAW'r profiad hwn, mai'r *Iesu yw y Crist*, oddiwrth hen *brophwydoliaethau*, chwi a ddywedasoch fod amryw *dystiolaethau nefol eraill* o'r unrhyw. Pa rai ydynt?

*At.* Tystiolaeth *Ioan fedyddiwr*, yr hwn a ddanfonwyd i'r byd i dystiolaethu am dano ef. Tystiolaeth yr *Iesu ei hun*, yr hon a ellir yn hawdd ei choelio. Tystiolaeth ei *wyrthiau rhyfeddol ef*, yr hon dystiolaeth a berffeithiwyd â bys Duw; A thystiolaeth *Duw'r Tad*, yr hon ei hun oedd lawn ddigon. Gan hynny y mae'n rhaid i'r neb a daero yn erbyn hyn, wneuthur nef a daear, Duw a dynion yn gelwyddog.

*Gof.* A ddarfu i *Ioan fedyddiwr* dystiolaethu mai'r *Iesu* oedd y *Crist?*

*At.* Do, a hynny yn yr achosion mwyaf cyhoeddus, pan oedd y *Cynghor mawr*, *sef y Sanhedrim yn anfon offeiriaid a lefiaid* atto ef yn bwrpasol i ymofyn, a'i efe ei hun *oedd y Crist:* a'i atteb ef oedd, mai *nad efe oedd y Crist*, ond fod y *Crist wedi dyfod*; a'i fod ef y pryd hwnnw *yn eu plith hwynt*; A thrannoeth, pan welai ef yr *Iesu yn dyfod tuag atto*, efe a'i pennododd ac a gyhoeddodd o'u blaenau hwynt oll, gan ddywedyd, *wele oen Duw yr hwn sydd yn tynnu ymaith bechodau'r byd. Hwn yw efe am yr hwn y dywedais, ar fy ol i y mae gwr yn dyfod, yr hwn a aeth o'm blaen i.* Yr hon dystiolaeth, y mae efe yn ei hail adrodd *drannoeth ar ol* ar achos arall. Y dystiolaeth hon y mae'r *Iesu* yn ei pherchenogi pan y mae efe yn ymresymmu â'r *Iuddewon*, er cadarnhau ei awdurdod. *Chwi a anfonasoch at Ioan*, medd efe, *ac efe a ddug dystiolaeth i'r gwirionedd.*

Io. 1. 19. Ad. 20. Ad. 26, 27. Ad. 35. 36. Io. 5. 33.

*Gof.* Ond pa fodd y gwyddai *Ioan*? a pha ham y bydd rhaid ei goelio ef?

Mat. 21. 26. *At.* O herwydd ei fod ef yn brophwyd: *yr holl Iuddewon a gyfrifent Ioan yn brophwyd*: A *Christ* a ddywed ei fod ef yn un o'r *prophwydi mwyaf*, Mat. 11. 9. 11. canys *ym mhlith plant gwragedd, ni chyfododd neb mwy nag Ioan fedyddiwr.* Ac y mae efe yn cyhoeddi mai yr *yspryd a ddatguddiodd hynny iddo ef*; ac er ychwaneg siccrwydd, efe a roddes iddo Io. 1. 32, 33. arwydd hynod gan ddywedyd wrtho ef. *Ar yr hwn y gwelych yr yspryd yn disgyn, ac yn aros arno, hwnnw yw efe.* A'r *yspryd hwn* y mae S. *Ioan* yn cyhoeddi *iddo ei weled yn disgyn mewn rhith corphorol* ar yr *Iesu* yn ei *fedydd*. Ac yn yr un amser, S. *Mathew* a ddywed *iddo glywed llais oddiwrth Dduw* yn ei alw ef *ei anwyl Fab* er mwy siccrwydd: Ie, ar ol hynny, fel y dywed efengyl y *Nazareniaid* (*a*) ar y disgyniad hwn, *yn ddisymmwth y tywynnodd goleuni mawr o amgylch y lle, a thân a oleuodd yn yr Iorddonen*, lle y bedyddiodd *Ioan* ein *Hiachawdwr*, fel y tystiolaethodd *Justin ferthyr*: Y peth oedd fyth yn siccrach prawf i *Ioan* oedd disgyniad corphorol yr Yspryd Glan mewn *disglair oleuni*, megis arferol ogoniant Duw ar ei ymddangosiad, oedd ar ogwydd-dro uwch ben ein *Hiachawdwr*, yn ol arfer colommen wrth ddisgyn, gan wasgaru pelydrau gloywon o'i amgylch: yr hyn oedd mewn cyffelybiaeth i'r hyn a eilw'r *Iuddewon* yn *schechinah*, yr hyn a'i cyhoeddai ef yn hanfod nefol. Yn y modd hyn yr adnabu *Ioan* yr *Iesu* mai efe oedd y *Messiah*, trwy dystiolaeth ddiffael. Ac efe sydd yn tystiolaethu hyn am dano ef, nid o ran iddo ganfod y peth, eithr efe a ddywed mai ar y *gennadwri* hon yr anfonasid ef, ac mai i gyhoeddi hyn y Io. 1. 31. galwesid ef gan Dduw i fod yn *brophwyd*, *fel yr amlygid*

(*a*) *Dial. cum Tryph.*

*amlygid ef i'r Israel*, ac medd ef, *i hynny y daethym i.*

*Gof.* Os cafodd *Ioan* y cyfryw ddatguddiad a hyn, y mae'n eglur na thwylled mo hono ef, canys efe a fynegodd mewn modd dilys, ac mewn gwybodaeth ficcr, fel nad oes mor lle i ammeu nac i fyned oddi wrth ei dystiolaeth ef. Eithr pa fodd y profir *Ioan* yn wr geirwir a didwyll?

*At.* Sancteiddrwydd a chyfiawnder oedd ei ardderchowgrwydd ef yn ei fywyd: Truanaidd oedd ei fywioliaeth: Ei luniaeth nid oedd foethus, na'i wisg yn esmwyth, *Ni fwyttai fara, ac ni yfai win: efe a ddaeth heb na bwytta nag yfed*, hynny Mat. 11. 8.
yw, heb fyw ar gynnefin ymborth gwyr eraill, *Ei fwyd oedd locustiaid a mel gwyllt, a'i ddillad* Luc 7. 33.
*o flew camel, a gwregys o groen yngbylch ei lwynau.* Mat. 3. 4.
Gan hynny nid ellid mo'i demtio ef drwy esmwythdra na phleserau corphorol: Yr oedd ef yn ddibris o glod ac anrhydedd, canys pan oeddid yn ei gymmeryd ef yn lle'r *Messiah*, efe a ddywedai *nad oedd efe deilwng i ddattod carrai* Io. 1. 27.
*ei esgid*; gan fod yn llawen o'r cyfleustra i roddi yr anrhydedd hwn i'r *Iesu* yr hwn oedd ei berchennog; a chan gyhoeddi fod yn rhaid i'r *Iesu* Io. 3. 29,
*gynnyddu, ac iddo yntef leihau.* Yr oedd efe yn 30, 31.
rhagorol am dduwioldeb, ac am geryddu drygioni, fel y gwelir wrth ei waith ef yn ceryddu *pob cyflwr a gradd yn dyfod atto ef i'w bedyddio* Mat 3.
*ganddo.* Ac am ei burdeb a'i degwch (hyd na ddaeth yr *Iesu*) nis medrent yn yr oes honno, ddangos un gwr mor gyfiawn ag ef. Pan hoffodd *Herod* ei wrando ef, ni wnaeth ei ddyrchafiad yn llys y brenin iddo golli mo'i ddiniweidrwydd cartrefol, ac ni ddysgodd iddo wenhieithio, na chymmaint ac arbed y brenin, er bod iddo golli ei ffafr ef, a'i ben ei hun yn y fargen, am fod mor ddiragrith a *dywedyd i Herod ei fai.* Mat. 14.
*Gof.* 3, 4, 10.

*Gof.* Arwyddion ſicer yw y rhai hynny am wr cyfiawn. Eithr dymunwn wybod a oedd yr *Iuddewon* yn amſer *Ioan* yn ei gymmeryd ef feſly?

*At.* Oeddynt, ac yn ei berchi ef yn aruthr.
Io. 5. 35. *Efe oedd*, fel y dywed *Criſt*, *ganwyll yn lloſgi ac yn goleuo* yn eu myſg dros amſer, nes iddo eu digio gan dyſtiolaethu mor hollawl am yr *Ieſu*, yr oeddynt o'r blaen yn *ewyllyſgar i orfoleddu ynddo*
Mat. 21. 26. *ef*, *a phawb yn ei gymmeryd ef megis prophwyd*: a phed fuaſent gywir iddynt eu hunain, hwy a ddylaſent goelio ei air ef. Rhy fychan oedd ganddynt ei glodfori ef a'i berchi: gan hynny hwy a ymwthient i fod yn ddiſgyblion iddo: A'r rhai hynny oeddynt, nid yn unig ei gyd wladwyr anwybodol, ond y rhai mwyaf dyſgedig
Mat 3. 7. o'r ſectau pennaf o'r *Phariſeaid* a'r *Saduceaid*, gan ddyfod a dymuno cael eu *bedyddio ganddo ef*. Ac nid oeddynt hwy yn ei gymmeryd ef yn brophwyd yn unig, eithr hwy a'i tybient yn fwyaf o'r prophwydi, ſef y *Criſt*, yr hwn yr oedd pawb yn ei ddiſgwyl ac yn ei ddymuno. Ac nid y gwyr lleiaf oeddynt yn dirnad hyn, ond y *ſanhedrim*, y Cynghor mawr hwnnw, ſef cynnyrchiolaeth y *genedl Iuddewig*. Canys y rhai hyn a anſonent *raglawiaid* atto ef, ſef gwyr dyſg-
Io 1. 19. edig *o offeiriadau a leſiaid a ddaethent o Jeruſalem i'w holi ef*. Ac y mae (*a*) *Joſephus* yn dywedyd i ni, mai ſon mawr oedd am *Ioan* ym mhlith yr *Iuddewon*. Ac er iddynt, o'r diwedd oeri wrtho o herwydd ei glod ef i'r *Ieſu*, etto yr oedd efe o'r cyfryw arſwydus gymmeriad, na lyfaſai y rhai na dderbynient ef, ddywedyd gair yn ei erbyn; megis na lyfaſai'r *Phariſeaid* o flaen yr *Ieſu*, pan ofynai efe iddynt ynghylch awdurdod *Ioan*, hwy a gilient yn lladradaidd, gan ommedd rhoddi atteb.

*Gof.*

(*a*) *Antiq.* l. 18. c. 7.

*Gof.* Ai nid oedd yr *Iesu* yn gyfaill i *Ioan*? gan hynny, ai nid allai anwylder ei ddallu ef i roddi mwy o glod i'r *Iesu* nâ'r haeddiant?

*At.* Nid oedd fodd i gyfeillach fod rhyngthynt, canys y mae ef yn dywedyd iddo ef adrodd hyn am yr *Iesu* cyn adnabod eu gilydd. O herwydd pan roddes ef ei dystiolaeth am dano, (wedi iddo weled yr *Yspryd Glan* yn disgyn arno ef yn ei fedydd) efe a ddywed, *myfi nid adwaenwn ef, eithr yr hwn a'm hanfonodd i fedyddio â dwfr, efe a ddywedodd wrthyf, ar yr hwn y gwelych yr Yspryd yn disgyn ac yn aros arno, hwnnw yw'r un sy'n bedyddio â'r Yspryd Glan. A hyn a welais, ac a dystiolaethais.* Gwir yw ddyfod o'r *Iesu* at *Ioan* i'w fedyddio ganddo, yr hyn oedd o flaen iddo weled yr arwydd, na gwneuthur y gyhoeddiad hon. *S. Mathew* yn wir, a ddywed, *Ioan a'i hadwaenai ef*, gan hynny a fynnasai ei ollwng ef heibio, gan ddywedyd, *y mae arnafi eisiau fy medyddio gennyt ti.* Ond hynny oedd trwy ddatguddiad yr yspryd, yn dwyn ar gof i *Ioan* bresennoldeb y *Messiah*, yr hwn a barasai iddo ef *lammu o lawenydd yn y groth* ar *gyfarchiad y fendigedig forwyn* ar ol ei ymddwyn ef. Ond cyn iddo roddi'r dystiolaeth hon iddo ef nid oedd dim cydnabyddiaeth rhyngthynt, oblegid ni buasai ymddiddanion rhyngthynt erioed o'r blaen. Io. 1. 33, 34. Mat. 3. 14. Luc 1. 44.

*Gof.* Ond heblaw tystiolaeth *Ioan fedyddiwr*, chwi a soniasoch am dystiolaeth yr *Iesu yn ei gylch ei hun*: dymunwn wybod honno?

*At.* Hyn y mae'r *Iesu* yn ei ddywedyd trosto ei hun, gan sefyll wrtho. *Myfi yw yr hwn sydd yn tystiolaethu am danaf fy hun, ac y mae fy nhystiolaeth i yn wir, oblegid myfi a wn o ba le y daethym, ac i ba le yr wyf yn myned.* Io. 8. 14, 18.

*Gof.* Ond nid yw hyn amgen nâ'i air ef ei hun. Ac y mae dynion yn dueddol i ddywedyd y goreu am danynt eu hunain, er mwyn anrhydedd neu

fael.

fael. Ac os coeliwn ni bawb ar ei air ei hun, nyni a goeliwn lawer o dwyll: Canys y twyllwyr mwyaf sy'n wyr geirwir tra coelier.

*At.* Gwir yw hynny, fe a fyddai mor anresymmol i ddyn goelio pob math a pheidio â choelio neb. Eithr y mae rhagor rhwng tystion a thystion. Canys am wr geirwir di ofer-goel, fe allai ddyn ei goelio, yn enwedig os byddai i Dduw roddi arwyddion, neu ddangos rhyw ryfeddodau yn ei gylch ef: neu os byddai iddo ef ei hunan
Deut. 18. 22. (yr hyn oedd brawf prophwydi yn ol y gyfraith) wneud rhyw arwydd ragorol er mwyn parch. A'r holl hynodrwydd hyn oeddynt yn cyd atteb yn y dystiolaeth a roddes yr *Iesu* am dano ef ei hun, *mai efe oedd y Crist.*

*Gof.* A oes dangosiad fod yr *Iesu* yn ddi ofer-goel, heb fod yn chwannog i dybio rhyw bethau ysgafn-wag, neu ryfygu pethau yn ei ffafr ei hun, heb ddim siccrwydd nac achos?

*At.* Oes: Canys yn ei ymddygiad (megis yr ymddangosodd ef yn ostyngedig mewn hunan-ymwadiad, felly yr amlygodd efe ei hun, nid yn unig mewn doethineb cyflym a dwfn gyrrhaeddiad, eithr mewn synwyr arafaidd ac ystyriol) nis gwelwyd mo honaw ef yn ei holl fywyd yn fyrbwyll mewn cynghorion, nac yn rhyfygus o'i dyb, nac yn amryfus yn ei farn; eithr yn abl i ddatgloi pob gofyniadau, ac i ddangos grymmuster a phwysau pob dadleuon. Ie, yn oed y rhai na dderbynient ei ddoethineb a ryfeddent;
Io. 7. 46. a'r *swyddogion* a anfonwyd i'w ddal ef, a ddychwelent, gan ddywedyd, *ni lafarodd dyn erioed fel y dyn hwn.* Heblaw hynny, nid ydyw'r pethau
Io. 8. 14. hyn (lle y mae efe yn gosod ei *glod* ei hun arnynt) ammheuaeth yn y byd, nac opiniwn i ymddadlu yn ei chylch, ond gweithrediad ddidwyll: megis
Io. 17. 5. ynghylch ei *fywyd*, a'i *ymddiddanion â Duw yn y*

nef

*nef* o lawer *cyn ei ddyfodiad ar y ddaear*; A'i *ddyfodiad ef oddiwrth Dduw*; *ei eirian ef am yr hyn a welodd* ac a glywodd efe tra bu ym mynwes ei Dad er tragywyddoldeb. A'r pethau hyn, pe faent i'w hammeu, a fyddent gyffelyppach i ffug a thwyll nag i ofer-goelion, ac i ddichellion nag ynfydrwydd, o ran nid un dyn yn ei bwyll (fel y mae genym dystiolaeth ei fod ef) a ddilynai ofer-goel. Ac ni ro e gaseion yr *Iesu* un amser ynfydrwydd yn ei erbyn ef, ond i'r gwrthwyneb, galwent ef yn *dwyllwr* a ddyfeisiai'r cyfryw ddichellion er twyllo'r byd. Io. 16. 28. a 8. 42. Io. 8. 38. Mat. 27. 63. a Io. 7. 12.

*Gof.* A oedd ei gyfiawnder mor hynod a'i ddiniweidrwydd?

*At.* Oedd. Canys ni bu erioed a chwennychodd lai o gymmwynasau iddo ei hun, ac a wnaeth fwy i eraill: *ei fwyd ef a'i ddiod* oedd ynnill gogoniant i Dduw, a rhannu bendithion i'r byd. Pa beth bynnag a chwennychai, neu at a wnai, oedd i'r diben hwnnw? Ac o herwydd hynny y mae efe yn annog pob dyn i gredu ynddo, megis y gwelid nad oedd ganddo duedd i dwyllo; ac nad oedd am gymmwynas iddo ei hun oddi wrthynt. *Fy marn i sydd gyfiawn*, medd ef, *canys nid wyf yn ceisio fy ewyllys fy hunan, ond ewyllys y Tad yr hwn am hanfonodd i.* Io. 5. 30.

*Gof.* Mae dwy-ryw *gynneddfau* nodidog, at y rhai y mae tueddiadau dynion, pan font yn lledrithio, sef *anrhydedd* a *bydol fantais*. A oes dangosiad nad oedd yr *Iesu* yn tueddu at yr un o'r rhai hynny?

*At.* Oes. Canys, mewn perthynas i *anrhydedd*, er bod ei weithredoedd yn dra rhagorol ym mhob lle: etto, ni hudwyd erioed mo hono ef i wneuthur dim o ran dyrchafu ei glod ei hunan, ond bob amser o ran angenrheidiau dynion, ac ewyllys Duw. Canys wrth iachau'r cleifion ac

eraill,

Mat. 8.4. eraill, efe yn fynych a ddymunai *ddirgelwch*
Pen. 9.30. gan y rhai tan ei law, er mwyn gorchguddio ei
Pen. 12.6. glod ei hun, gan roddi'r anrhydedd o'r cwbl i
Io 5.30. Dduw, a chyhoeddi *nad allai efe wneuthur dim o*
Pen. 14. *hono ei hun*, ond mai *bys Duw* oedd a wnai'r holl
10. weithredoedd y rhai oeddynt mor ryfeddol idd-
ynt hwy: a chan eu hannog i addoli a moliannu
Mat. 9.8. Duw am danynt: a hwythau a wnaent felly. Ac
Pen. 15. mewn perthynas i *fydol fantais*, er ei fod ef yn
31. dyfod megis tywysog a bugail, etto, efe a gy-
Luc 7.16. hoeddai nad oedd ef yn dyfod i fanteisio ar ei
Pen. 18. bobl, ond i'w gwasanaethu hwynt, ac i *dywallt*
43. *gwaed ei galon trostynt.* Gan hynny rhaid i bob
dyn feddwl, nad er ynnill iddo ei hun y daethai
neb i blith dynion, yn unig i farw trostynt. A
chan nad yw yn chwennych ei glod na'i fantais
ei hun, y mae efe yn annog pob dyn i dderbyn
Io. 10. ei dystiolaeth ef. Sef *y bugail da sydd yn rhoddi*
11, 15. *ei einioes dros y defaid: Myfi yw y bugail da, canys*
Io. 8. 49. *yr wyf yn rhoddi fy einioes drostynt. Yr wyf fi yn*
Pen. 7.18. *anrhydeddu fy Nhad, ac nid wyf yn ceisio fy ngogon-*
*iant fy hun, y mae yr hwn sydd yn llafaru o hono ei*
*hun yn ceisio ei ogoniant ei hun: ond yr hwn sydd yn*
*ceisio gogoniant yr hwn a'i hanfonodd, hwnnw sydd*
*gywir, ac anghyfiawnder nid oes ynddo ef.*

*Gof.* Pa ddyn bynnag a fwynhai'r cyfryw fyn-
wyr di-rwysg, a chyfiawnder mor bur, nid allai
lai nag ynnill parch yn gyffredinol. Eithr ca-
darnach a fuasai'r dystiolaeth, pe buasai i ryw
ddamweiniau rhyfeddol rag-barottoi'r byd i'w
ddisgwyl. A oedd hynny o barottoad yn y byd
cyn dyfodiad yr *Iesu*?

Io. 1.15. *At.* Oedd: canys heblaw dyfodiad *prophwyd*
*cymmeradwy* yn un swydd i'w gyhoeddi ef, Duw
a anfonasai *lawer o ddatguddiadau a rhyfeddodau* i
Luc 1. barottoi ei ffordd ac i'w arwain ef. Anfonwyd
26, 27. un *angel* at ei *fam*, yr hon oedd gynt a chwedi
yn *forwyn*, a'r newydd o'i ryfeddol genhedliad:
*Angel*

*Angel* arall a anfonwyd i gyhoeddi ei diwedd hi er bodlondeb i'w *gwr* eiddigus: A *lliaws* o honynt a glybuwyd yn canu *emynau* o lawenydd pan anwyd ef, gan ddywedyd i'r *bugeiliaid* mai efe oedd *Crist yr Arglwydd*. A *seren* (o dremn a symmudiad anarferol) a grewyd i arwain *gwyr maturion* o'r dwyrain, y rhai (gan ddyfod wrth ei chyfarwyddyd i *Gaersalem*) a toisant *Herod* a'r holl *Iuddewon* mewn braw a syndod: A chan gael ei harwain ganddi i *Fethlehem*, hwy a aethant i'r ty lle yr oedd yr *Iesu*, ac a dalasant eu hadduned yn gyhoeddus, gan *offrwm iddo eu hanrhegion o aur, thus, a myrh.* Ac er mwy hynodrwydd, fe a ddigwyddodd y cyfryw weithred o galon-galedwch, na fu erioed mo'i chyffelyb. Canys wrth anwydd y *gwyr doethion*, fe a aeth *Herod* yn eiddigus o'r brenin newydd hwn, a chan chwennychu gwybod pa le yr oedd, mewn esgus i'w addoli, a llawn fwriad i'w ddifetha (eithr hwy nis dygasant iddo air yn ol eu haddewid, oblegid i Dduw eu rhybuddio mewn *breuddwyd* i'r gwrthwyneb) yn ei greulonder, a *laddodd yr holl fechgyn dwy flwydd oed yn Methlehem ac o'i hamgylch*, gan dybio bod yn ddiogel o ladd yr *Iesu* yn eu mysg hwynt. Heblaw y digwyddiadau ar gyflawniad dyddiau *puredigaeth ei fam:* pan ddygpwyd i'r deml, *Simeon* (mab, fel y tybier, i *Hillel* ddoeth, a thad *Gamaliel*) a *Hannah*, pob un o'r ddau oeddynt gyfiawn o dduwioldeb a sancteiddrwydd, ac ar ryw achosion yn meddiannu *yspryd prophwydoliaeth*, yr hyn oedd wedi pallu ym mhlith yr *Iuddewon* ers pedwar cant o flynyddoedd, sef er amser *Zecaria* a *Malaci*, ond a ddechreuodd y pryd hwnnw adfywio ynddynt hwy, gan gyhoeddi mai efe oedd *Crist Duw*; *a llefaru am dano wrth y rhai oll oedd yn disgwyl am ymwared yn Jerusalem.* Hyn oll ynghyd a llawer o anwyddion eraill, a ddangosfwyd

Mat. 19. 20. Luc 2. 13.

Luc 2. 1, hyd 11.

Mat. 2. 16, 18.

Luc 2. 22. Ad. 25, 26, &c. Ad. 36, 37, 38, &c.

osfwyd yn ei achos ef, oeddynt yn gyhoeddi wybodus i'r *Iuddewon*: Yr holl ymddiddanion y pryd hwnnw oedd son am y pethau hyn; ac nid allai lai nâ pheri i ddynion ddisgwyl rhyw gyfnewidiad rhyfeddol o'i herwydd: gan weled fod ei anfoniad ef oddiwrth Dduw, yr hwn a'i cyhoeddai ef ei hun, a deall fod ei ddyrchafiad ef i fod yn fwyfwy, hwy a fyddent barottach i gredu, yn enwedig pan welent yr holl bethau hyn yn cael
Mat. 3. 16, 17. eu siccrhau trwy weledig ddisgyniad yr *Yspryd Glan arno* ynghyd â *llais o'r nef*, wrth ei *Fedyddio*,
Mat. 4. 17. y pryd y bu iddo ef ddechreu ei *bregethiad*.

*Gof*. A roddes yr *Iesu* hefyd *arwydd* o'i gyfiawnhaad ei hun?

*At*. Do, a'r unig arwydd hefyd a osodwyd gan *Foses* yn brawf i'r neb a anfonid gan Dduw
Deut. 18. 22. megis prophwyd, sef *rhagddywediad am bethau i ddyfod*. Efe a ragddywedodd ei *adgyfodiad ei hun*, dan gyffelybiaeth *Jonas*, yr hyn a roddes efe yn
Mat. 12. 40. arwydd i'r *Iuddewon*. A *bradwriaeth Judas* a ragddywedodd efe i'w *ddisgyblion* cyn ei ddig-
Io. 13. 19. wydd, *fel pan ddel*, medd efe, *y credoch mai myfi yw*. A hyn sydd ddigon i gadarnhau ei dystiolaeth ef ped na fai ddim ychwaneg. Canys mewn prawf yn ol cyfraith *Moesen* ni ammheuid mo hono ef mwy.

*Gof*. Ei ddoniau corphorol a'i ryfedd ymddangosiad, ydynt ddigon er ynnill iddo glod, ac i beri i'r byd goelio ei air, heblaw ei wyrthiau, yr hyn sy'n gadarnwch i'r cwbl.

*At*. Gwirionedd yw; ac felly yr oeddynt yn achos *Ioan*. Canys yr ysgrythur a ddywed,
Io. 10. 41. *Ioan yn wir, ni wnaeth un arwydd*. Ond er hynny, yr oedd pawb yn ei gyfrif ef yn brophwyd o ran ei berffeithrwydd a'i ddoethineb, ac o ran ei genhedliad o *fam* ym mhell tros amser planta; ac i annerchiad *angel* ei gyhoeddi ef gyntaf; ac i'w *dad* anghredadwy gael ei wneuthur yn fudan, a rhyddhau

a rhyddhau ei dafod ef mor ryfeddol ar enedigaeth y plentyn, i brophwydo yn ei gylch ef: o herwydd yr hyn bethau y galwyd ef yn *blentyn gwyrthiau*, er na *wnaeth efe ddim.* A phob un o'r arwyddion hyn oedd fwy dyrchafadwy yn yr *Iesu:* yr hyn gan hynny a ddylasent ynnill iddo yntau gymmeriad ac enw prophwyd megis *Ioan:* Heblaw rhagddywediadau yr *Iesu*, y rhai oeddynt brawf cyfreithlon o brophwydoliaeth, yr hyn oedd ddigon i gyfiawnhau ei awdurdod ef ped fuasai efe heb ddim arall.

*Gof.* Chwi a ddangosasoch yn helaeth pa ham y dylai hanes *Iesu* am dano ei hun gael ei goelio, gan fod ei siccrwydd mor gadarn.

*At.* Do, a hynny sy'n dangos y gellir coelio ei dystiolaeth ef, gan ymddangos o hono ef yma yn ein mysg i dystiolaethu am dano ei hun. Ond ym mhellach nâ hynny, efe a ymddangosodd amryw weithiau er pan aeth efe i'r *nef*, yn enwedig i *Stephan* a *Phaul*, gan roddi iddynt dystiolaeth weledig, drwy ymddangos mewn llawn feddiant o'i addewid iddo ei hun pan oedd yma ar y ddaear. A'r ymddangosiad o'r nef mewn gogoneddus fawredd sydd yn gymmaint prawf mai efe ydyw *Crist y brenin*, ac a fyddai i ddyn daearol ddangos ei fod ei hunan yn fyw: canys os bydd ammheuaeth mewn dim, nid oes well bodlondeb nag i'r peth ei ddangos ei hun yn weledig.

*Gof.* Eithr ar ol y cwbl, ai nid yw'r *Iesu* yn dywedyd wrth yr *Iuddewon*, *os wyfi yn tystiolaethu am danaf fy hunan, nid yw fy nhystiolaeth i yn wir?* Io. 5. 31.

*At.* Wrth y geiriau hyn, *nid yw yn wir*, nid ydyw'r meddwl yn dywedyd amgen nad gwir ydyw; neu nad prawf o wirionedd yw: canys mewn lle arall efa ddywed yn bendant, *er fy mod i yn tystiolaethu am danaf fy hun, y mae fy nhystiolaeth i yn wir.* Io. 8. 14. Ond yr achos yw, na ddeil hynny allan i fod yn brawf yn y gyfraith: o herwydd, nid o

ran pall yn y peth o'i ran ei hun, eithr yn y rhifedi o dystion. Oblegid eu *cyfraith hwy*, fel y dywed ein *Harglwydd*, sydd yn gofyn *dau o dystion*. A chan hynny, er bod ei dystiolaeth ef yn brofedigaeth dda, etto gan nad yw ond un,
Io. 8. 17 nid eill mor bod yn gyflawn o eisiau bod *tystiolaeth*
18. *y Tad* hefyd, i wneuthur *dau o dystion*. Ac lle y mae efe yn dywedyd na wasanaetha ei dystiolaeth
Io 5. 32. ef ei hun, efe a ddywed yn y geiriau nesaf, *arall sydd yn tystiolaethu am danaf*, yr hyn sydd yn gwneud y rhifedi o dystion i fynu, fel y bo'r dystiolaeth yn gyflawn.

*Gof*. Ond er hyn i gyd, ai nid eill y gair hwn o'i gymmeryd yn ol ei feddwl llythyrennol, roddi esgus i dwyllwyr maleusus wneuthur defnydd arall o hono?

*At*. Felly y gallai, ped faent hwythau i'w coelio ar eu geiriau eu hunain, ond y mae yn rhaid iddynt hwythau wrth dystion, gan hynny nid rhaid mo'u hofni. Ac ni chyttuna'r cyfryw â phrawf *Moses* drwy ddangos nac arwydd na rhagddywediad, yr hyn oll a wnaethpwyd ac a berffeithiwyd yn yr *Iesu*. A'r rhagoriaeth hon a'u gwna hwynt yn ddiffygiol, a'u hymadroddion yn ffuantaidd, neu yn gwbl wallgofus: yr hyn oedd wirionedd didwyll a thystiolaeth holliach yn yr *Iesu*.

*Gof*. Heblaw'r tystiolaethau hyn i ddangos mai'r *Iesu oedd y Crist*, chwi a soniasoch am drydydd, sef ei *wyrthiau rhyfeddol*, yr hyn a elwir *y dystiolaeth a berffeithiwyd trwy fys Duw*.

*At*. Y mae yr *Iesu* yn cynnyg honno, megis tystiolaeth gadarnach nâ'r eiddo ei *hun*, nâ'r
Io. 5. 36. eiddo *Ioan* chwaith. *Ond y mae gennyfi dystiolaeth fwy nag Ioan: canys y gweithredoedd a roddes y Tad i mi i'w gorphen, y gweithredoedd hynny, y rhai yr ydwyfi yn eu gwneuthur, sy'n tystiolaethu am danaf*
Io. 10. 37. *fi, mai'r Tad a'm hanfonodd i. Onid wyfi yn gwneu-*

*thur*

*thav gweithredoedd sy Nhad, na thredwch i mi: ac nad ydych yn credu i mi, credwch y gweithredoedd.* Ad. 38.

*Gof.* Arwyddion a rhyfeddodau a eglurhaant yr hyn a ddel o'r nef. Canys os bydd yr effaith yn weledig (fel y dywed ein Hiachawdwr am *fys Duw*) y mae'n dangos fod Duw yn hoffi'r neb a roddwyd i ddwyn y gwaith i ben, ac y gwna ei ddywediad ef yn dda. Ond y mae un cwmmwl yn fynych yn tywyllu'r dystiolaeth hon, sef fod i *Satan a'i orchwylwyr*, ar amserau, wneuthur gwyrthiau yn edrych yn rhyfeddol hwythau: Megis y gwnaethpwyd trwy *Jannes* a 2 Tim. 3.
*Jambres* dewiniaid yr *aipht*, gan ymtyson â *Moses:* 8.
a thrwy *gau-gristiau* a *gau-brophwydi*, y rhai (fel y dywed ein *Hiachawdwr*) a ddangosent *arwydd-* Mat. 24.
*ion a rhyfeddodau*; a thrwy yr *angbrist* mawr, a'r 24.
*dyn pechod*, dyfodiad yr hwn medd *S. Paul*, sydd 2 Thes.
yn ol *gweithrediad Satan, gyd â phob nerth ac ar-* 2. 9.
*wyddion gau.* Ac os ydyw *Satan* yn gwneuthur gwyrthiau, neu yn peri i rai dybio hynny, megis y mae Duw yn gwneuthur i gyfiawnhau ei brophwydi: pa fodd y mae i ni neillduo y rhai hynny, ac adnabod yr arwyddion a roddes yr *Iesu*, pa un a'i o'r nef y maent er tystiolaeth i wr cywir, a'i gweithredoedd dewiniaeth ydynt?

*At.* Y mae rhai o honynt yn hawdd eu hadnabod wrth eu rhyw, a'r cwbl wrth eu hamcanion a'u tueddiadau.

*Gof.* Pa rai sydd i'w hadnabod wrth eu rhyw, sef y rhai sy mor berthynasol i Dduw ei hun na ddichon un rhyw yspryd drwg mo'u gwneuthur?

*At.* Un yw rhagddywediad pethau i ddyfod, yr hyn a wnaeth yr *Iesu* lawer gwaith, yn enwedig ei *farwolaeth ei hun*, a'r fath ryfeddol a fyddai Mat. 16.
arni, sef *crogi ar groes* wrth arfer y *Rhufeiniaid*, 21.
yr hyn oedd ddamwain pur annhebygol, o her- Mat. 20.
wydd nad oedd achos i feddwl am ddrwg-ewyllys 19.
y *Rhufeiniaid* ond yr *Iuddewon* yn hytrach i'w erbyn

erbyn ef. Efe a ragfynegodd y byddai i *Judas ei fradychu ef*, a hynny oflaen i *Satan fyned i mewn i Judas*, nac iddo yntau feddwl am hynny ei
Io. 6. 64, 70, 71. hunan (mae yn debygol) Ie, efe *a wyddai hynny o'r dechreuad*; ac y byddai i *Bedr ei wadu ef*, a
Marc 14. 30. hynny yn uniawn *deir-gwaith cyn canu o'r ceiliog ddwy-waith*. Yr oedd y tri achofion hyn o'i wadiad yn ansiccr iawn ynddynt eu hunain, heblaw fod *Pedr* yr un amser mor fawr yn erbyn
Ad. 31. hynny, a'i fod yn fodlon *i farw gyd ag ef* yn hytrach *nâ'i wadu ef*. Ac am erlidigaeth ei
Mat. 24. 9, 10. *ddifgyblion*, llwyddiant y *gau brophwydi*, parhaad ei *eglwys a'i grefydd* yn gruddfanu yn amlꝑ dan
Ad. 11, 12. erlidigaethau trymion *hyd ddiwedd y byd*, gyd â
Mat. 28. 20. llawer o bethau eraill.

Pen. 16. 18. *Gof.* A ydyw y rhagddywediadau hyn yn briodol i'r Hollalluog Dduw, ac uwchlaw celfyddyd yr yfprydion ifod?

*At.* Ydynt, a dyna'r achos i'w galw yn *weithrediadau nefol*, megis yn perffeithio'r *duwdod hanfodawl*. A chan hynny y mae Duw yn galw holl *dduwiau'r Cenhedloedd* gan ddywedyd. *My-*
Esay 41. 23. *negwch y pethau à ddaw ar ol hyn, fel y gwypom mai duwiau ydych chwi*. Ac y mae y *cythreuliaid* yn cyfaddef nad allant hwy wneuthur mo hynny oblegid nad oes goel ar eu *horaclau:* a chan na wyddant pa beth a eill ddigwydd, y maent yn arferu eu hattebion mewn amrafael ffyrdd, i gael i bob digwyddiad gyttuno â'r atteb pa fodd bynnag y delo i ben. Yn y modd hyn yr attebwyd * *Pyrrhus brenin Epirus* yn *Delphos*, pan oedd yn ymofyn pa fodd y digwyddai i'r *rhyfel* rhyngddo ef a'r *Rhufeiniaid*:

*Aio te Æacida Romanos vincere posse.*

Yr hyn, yn ol yr amryw ffyrdd y gellid dechreu ei ddeongli, ydoedd iaith ddifai bob ffordd, ac yn

* Cicer. de Divinat. *l.* 2.

yn atteb gwir pa un bynnag a wnai efe ai gorchfygu y *Rhufeiniaid*, ai cael ei orchfygu ganddynt hwy. Ac o'r un modd hefyd yr attebwyd *Crœsus brenin Lydia*, pan ydoedd yn myned yn erbyn *Cyrus*.

*Crœsus Halym penetrans magnam pervertet opum vim.*

Hynny yw, o byddai iddo fyned tros yr afon *Halys* yn erbyn *Cyrus*, y treulid llawer o gyfoeth, ac yr anrheithid brenhiniaeth fawr: yr hyn a fyddai yn wir pa blaid bynnag a orfyddai. Y mae'r cyfryw attebion a'r rhai hyn yn dangos fod y *demon* am dewi. Heblaw hyn, y mae yn eglur fod y pethau i ddyfod tuhwnt i gyrrhaeddiad ysprydion aflan: canys eu hachosion sy'n gorwedd gan mwyaf o fewn rhydd-ewyllys dynion, modd na ddichon y cythreuliaid mo'u cymmell, ond yn unig eu temtio: yr hyn hefyd o'i ddechreuad sydd guddiedig ynghyngor a rhagluniaeth y Goruchaf, rhagamcanion yr hwn a gauwyd rhagddynt hwy yn ei fonwes alluog ef er cyn seiliad y byd.

*Gof.* Ai ni bu i'r *demoniaid* drwy'r * *dewin Spurinna* rybuddio *Julius Caesar* ynghylch ei berygl o fyned i'r *cyngbordy* ar y cyfryw ddiwrnod?

*At.* Y rhybudd hwnnw a roddwyd trwy ddatguddiad yr hen fradwr, mae'n debygol: Canys pa beth oedd haws i'r *demon* nâ rhagddywedyd yr amser, a'r lle, a'r gwyr hefyd a oeddynt yn amcanu'r llofruddiaeth? ac yntef ei hun yn bresennol, ac yn ben dychymmygwr y cwbl?

*Gof.* Eithr pa beth a feddylir am ragddywediadau mwy anghysbell: megis cyn erioed eu dychymmygu gan y rhai a'u gwnelont; neu ynghylch amcanion, neu ryw ddamweiniau eraill i ddyfod, y rhai a ddatguddiwyd yn fynych gan y *demoniaid*



* Suet. in Jul. *cap.* 81.

*demoniaid* i'w prophwydi drwy *oraclau*, a moddion eraill ar *swynion* ym mysg *dewiniaid* y *Cenhedloedd* gynt?

*At.* Pan fyddent yn rhyfygu hyn, nid oedd fawr o siccrwydd ganddynt: ond megis gwyr call a ddeallent yn well nag eraill o ran arferiad. Eithr os byddent yn ammheus, hwy a roddent attebion ammheus, modd y gallai'r ddamwain atteb i ryw gaingc neu i gilydd o'r atteb, a chadw eu clod hwythau, megis yn achosion *Pyrrhus*, *Crœsus* ac eraill.

*Gof.* Ai tybied nad eill y *demoniaid* lafaru yn eglur am bethau i ddyfod, a hynny mewn siccrwydd?

*At.* Gallant am ddamweiniau a roddir yn eu
meddiant, megis pan draddodir dynion iddynt,
un ai o ran eu profi, fel *Job*, neu o ran eu cospi
1 Bren. fel *Ahab*. Ar ol y cyfryw draddodiad i'w dwylo,
22. 22. hwy a allant ragddywedyd yn hyderus. Megis
Job 1. 12, y gallodd *Satan* am *ruthriad y Caldeaid* a'r *Sabe-*
15, 17. *aid* ar *ychain Job* a'i *gammelod*, wedi iddo gael
*cennad* gan Dduw: A bradwriaeth *Judas* ar ol i
Luc 22. 3. *Satan* ei feddiannu, gan *fyned i fewn iddo ef*. Ac
felly y gallent yn *swynion y Cenhedloedd* gynt rag-
ddywedyd am *iachau clefydau*, lle y caent hwy
gennad gan Dduw i fod yn achos o'r cyfryw,
*megis i iachau y rhai yn unig a beidient a'u lladd*,
* Apol. fel y dywed **Tertulian*. Ac felly, i ragddy-
c. 22. wedyd am bethau a roddwyd yn eu meddiant,
nid rhaid iddynt ond gwybod eu bwriadau eu
hunain. Ond nid allant ddywedyd am bethau i
ddyfod yr hawg ar ol nes y rhoddir *y dyn neu*
Gen. 15. *beth bynnag arall yn eu meddiant hwynt* (megis y
13. Jer. 25 12. mae Duw yn mynych gyhoeddi yn yr *ysgrythyrau*
Pen. 19. i ddynion *cyn eu geni*) na'r pethau o wir ewyllys
10. y baent i'w gwneuthur. Megis y bu i'r *Iesu*
1 Bren. a'i *apostolion* ar ei ol (trwy ei *yspryd* ef) ragfynegi
13. 2. ac pa bethau a ddigwyddent i'r *Iuddewon* hen ac
Esay 44.
28. ieuangc

ieuangc o honynt, ym mhen agos i ddeugain mlynedd ar ol: A pha bethau a ddigwyddent i'w *heglwys* y rhawg ar ol hynny; a phrofedigaethau pob *dynion daionus*, y rhai gan eu bod ynghadwr-aeth Duw, nid allai'r ysprydion aflan yn unig ond eu temtio, ond nid eu llywodraethu.

*Gof*. Ai nid oedd son mawr am y *Sibylau*, lle yr ysgrifennodd *Virgil* (*a*) rai o'u daroganau, wrth yr hyn y brawychodd (*b*) *Cicero*, pan fu i'r (*c*) *Quindecemviri* (ynghadwraeth pa rai yr oedd llyfrau'r *Sibylau* hynny) ddyfod â'r newydd i'r *cyngbordy* ynghylch brenin newydd i ddyfod, gan rag-ddywedyd am *Grist*. Ai nid oedd y *demon-iaid* yn hyn o beth, yn rhagweled pethau i ddy-fod, er bod o honynt ynghadwraeth Duw, fel y dywedasoch?

*At*. Nag oeddynt, ond yn hytrach, mae yn debygol, nad yspryd ammhur a ddatguddiodd y pethau hyn, ond mai yspryd y gwir Dduw, yr hwn oedd weithiau yn cynnhyrfu'r *Cenhedloedd*, megis y bu i *Falaam* yr *Aramiad* brophwydo am-ryw ddamweiniau, yn enwedig am y *Messiah*, i beri disgwyliad am dano ef ym mhlith y *Cen-hedloedd*, yr hwn oedd *dymuniad pob Cenedlaethau*. Num. 24. Hag. 2. 7.
Neu os na chawsent hwy y daroganau hyn ar y llaw gyntaf, hwy a'u cawsent wrth ddarllain y *prophwydi*, trwy ba rai yr oedd Duw o'r blaen wedi llafaru'r pethau hyn: yr hyn nid yw yn annhebygol gan eu bod hwy yn eu hadrodd yn aml. Ni ddarfu i'r *demoniaid* ddatguddio'r pethau hyn, ac os do, nid o'u heiddo eu hunain, ond (megis y dywedodd (*d*) *Tertulian*) *lladratta eu difinyddiaeth a wnaethant*.

*Gof*. Ai ni ddichon gallu'r tywyllwch yntè ddim amgen nâ lled tybio pethau i ddyfod, megis wrth graffu ar gychwynfa ac achosion rhyw ar-

 wyddion,

(*a*) Eclog. 4. (*b*) De Divin. *l.* 2.
(*c*) Penswyddogion yn Rhufain. (*d*) Apol. *c.* 22.

wyddion, fel gwyr cyfrwys eraill; neu ar ryw beth a fo yn barod i dorri allan, pan font wedi bod ynghymmanfa'r bradychwyr, neu'r cyffelyb: neu ar y cyfryw ac a roddir yn eu meddiant hwynt gan Dduw; neu adrodd y prophwydoliaethau sanctaidd: Mewn rhyw rai neu i gilydd o'r rhai hyn yr oedd rhagwelediad *difinyddiaeth y Cenhedloedd* yn gynnwysedig. Eithr am weithredoedd tan gadwraeth Duw ar ddamweiniol a rhagorawl bethau i ddyfod (y rhai ni fernir wrth achosion naturiol, ond sy'n sefyll ar rydd-ewyllys dynol, a rhagluniaeth Duw) y maent oll allan o'u cyrraedd hwynt. Gan hynny yr ydym yn siccr nad oes ond y gwir Dduw a ddichon roddi'r gwir am danynt.

*At.* Felly y mae, a chan hynny, mae yn ddiammeu ddyfod o'r *Iesu* oddi wrth Dduw, canys ef ei hun a'i *apostolion* a ragfynegasant amryw bethau, y rhai a ddaethant oll i ben.

*Gof.* Pa ryw wyrthiau eraill a wnaeth yr *Iesu*, o'r rhai sy'n briodoliaeth i Dduw yn unig, a thuhwnt i allu ysprydion aflan?

Io. 2. 24. *At.* Yn ail, efe a welai *o fewn calonnau dynion, a'u dirgel fwriadau:* gan ddatguddio anwadalwch *rhai o'i ddisgyblion*, ef a'u cyhoeddai cyn bod dim arwydd oddi allan; a rhagrithiol dwyll y
Mat. 12. 25. *Phariseaid*, y rhai a safent o'i flaen ef yn llawn bradwriaeth. Efe a gymmhwysai ei attebion a'i ymadroddion yn gystal at eu hamcanion twyllodrus ag at eu gofyniadau, cyn yr adroddent eu bwriadau wrtho ef. Megis y gwnai ef â'r
Luc 6 8, 9. 'sgrifennyddion. A hyn sydd waith arall, yr hwn
Mat. 9. 4. sydd briodol yn ei allu ei hun, drwy yr hyn y mae yn ei alw ei hun yn *chwiliwr y calonnau a phrofwr yr arennau.* Efe sydd raid iddo wybod
Jer. 17. 10 hyn oll, oblegid efe sydd i dalu. *Myfi yr Arglwydd sydd yn chwilio'r galon, yn profi yr arennau, i roddi i bob un yn ol ei ffyrdd, ac yn ol ffrwyth ei weith-*

*weithredoedd. Canys ti yn unig a adwaenost galonnau holl feibion dynion*, medd *Solomon*. 1 Bren. 8. 39.

*Gof*. A wnaeth yr *Iesu* ddim ychwaneg o wyrthiau gan eu perffeithio yn unig trwy *fys Duw*, ac nad eill dewiniaeth eu gwneuthur?

*At*. Do, yn drydydd, ef a *gyfodai'r meirw*: megis *merch Jairus*; a *mab y wraig weddw o Nain*, Mar. 5.
pan oeddid yn ei ddwyn *ef i'w gladdu*; a *Lazarus* 42. Luc 7.
ar ol iddo ef *fod yn farw ers pedwar diwrnod*. 12—15.
Hyn hefyd sydd briodoliaeth i Dduw. Canys Io. 11.
pan gymmerir eneidiau oddiwrth eu cyrph, maent 39, 44.
yn myned dan orchymmyn Duw i gael eu siccrhau yn y lle a bennodir ganddo ef, ac nid allant mo'r dyfod yn ol, ond trwy gennad a gallu yr hwn a ddichon wneuthur pob peth. *Nid oes Dduw onid* Deut. 32.
*myfi, myfi sydd yn lladd ac yn bywhau*, medd Duw 39.
trwy *Foses*. Pob eneidiau pan ddidolir oddi wrth y cyrph, sy tan gloiau, a llaw nefol sydd yn dal *agoriadau uffern a marwolaeth*. Dat. 1. 18.

*Gof*. A oes gennych ddim ychwaneg o siamplau?

*At*. Oes, yn bedwerydd, *bwrw allan gythreuliaid*; a'r rhai hynny o'r rhyw mwyaf cyndyn, *wedi myned yn rhy drech i'w ddisgyblion*, ac o'r Mat. 17.
*rhifedi* mwyaf hefyd. Y *cythreuliaid* a drowyd 18, 21.
allan o un *dyn* a gyfrifwyd ganddynt eu hunain yn *lleng* (yr hyn oedd enw byddin *rufeiniaidd* o Mar. 5. 9.
chwe mil o wŷr) ïe, ac nid eu bwrw hwynt allan yn unig, ond gan fod megis *barnwr* arswydus arnynt, gwialen pa un a ofnent, ac wrth olwg pa un y crynent: Ef a wnai iddynt weiddi allan, *och, beth sydd a wnelom â thi, Iesu o Nazareth?* Mar. 1.
*a ddaethost ti i'n difetha ni? mi a'th adwaen pwy* 24.
*ydwyt: Sanct Duw, O Iesu fab Duw goruchaf, yr* Luc 8.
*wyf yn attolwg i ti na'm poenech*. Ie, efe hefyd 28.
a roddes awdurdod i'w *ddeg a thrugain disgyblion*, Luc 10.
a chwedi hynny i'r rhai gwaelaf o'i *ddilynwyr* 17.
dan rinwedd yr enw mawr hwn, i'w bwrw hwynt

allan.

Mar. 9. 38. allan. A phan aeth rhai *nad oeddynt yn ei ddilyn ef* i'w dychrynu wrth ei enw cysegredig ef, y *cythreuliaid* gan grynu, a ffoent o'u blaenau hwynt. Hon hefyd fydd gyfryw weithred na ddichon y *demoniaid* galluoccaf mo'i dynwared. Yn wir, mewn rhyw bethau neillduol, y graddau uchaf o honynt a allant fwrw allan rai o'u hisafiaid o ran rhyw gyfleustra iddynt eu hunain: Ond am fwrw allan o'u blaenau bob graddau a rhifedi, a hynny trwy ddychryn, syndod, a phoenau, hynny a wnai ymrafael yn eu mysg eu hunain,

Mat. 12. 25, 26. ac a *ddymchwelai deyrnas y cythraul*: yr hyn a fyddai ryfeddod os gwnai'r cyfryw *ysprydion* cyfrwysgall ddim a barai achosion i ryfela â'u gilydd.

*Gof.* Mi a welaf fod rhagoriaeth eglur rhwng *gwyrthiau'r Iesu* a *rhyfeddodau Satan*, wrth siamplau pob un. Eithr pa fodd yr adweinir hwynt yn eu *rhagor-furiadau?*

*At.* Holl weithredoedd yr *Iesu* a wnaethpwyd er dyrchafu anrhydedd a gwasanaeth i Dduw, a daioni i ddynion, ac i gynnyddu addfwynder ac arferion daionus yn erbyn arferion ysprydion drwg, gan lesolu dadwreiddio pob camweddau ac ofergoelion (y rhai oeddynt yn cadw dynion mewn llafur danynt, trwy ofalon mawr yn y prif-oesoedd) a dymchwel eu holl allorau, gan wneuthur rhifedi eu haddolwyr yn llai, a'u troi allan o bob llywodraeth y rhai y buant cyhyd yn eu traws feddiannu. Ac y mae yn hawdd gwybod nad yw'r neb a fyddo o'r cyfryw duedd-iad yn gweithredu trwy gelfyddyd un yspryd drwg. Canys pe peidiai y rhai hynny â bod yn elynion i Dduw a ninnau, hwy a beidient â bod yn gythreuliaid: Pe i troent hwy i bregethu gostyngeiddrwydd, trwy burdeb a chariad i Dduw ac i'w gilydd, eu gwyrth-ymgais a ddarfyddai: Pe i cyhoeddent hwy Dduw a

Thad

Thad ein Harglwyddd *Iesu Grist*, mai efe yw'r unig a'r gwir Dduw, ac sydd i'w ofni a'i addoli, ac nad ydynt hwy ond angylion colledig, y rhai nid ydynt i'w haddoli mewn temlau, nac i wrando eu hannogaethau, nac i wneud ar ol eu ffalster, balchder, cynfigen, casineb i Dduw a dynion, a'r cyffelyb: yna hwy a droid yn angylion y goleuni yn lle bod yn ellyllon y tywyllwch. Gan hynny ni allant hwy wneuthur gwyrthiau i berffeithrwydd, oni bai i Satan droi yn sant, a newid ei natur. Ac o ran hynny, trwy awdurdod o wirionedd y galwai'r *Iesu* ei wyrthiau *y gweithredoedd a roddes y Tad i mi i'w gorphen*, Io. 5. 36.
hynny yw, nid gweithredoedd o ran diben drwg, nac o ran gorwagedd i ddyrchafu ei glod ei hun, ond i wasanaethu ewyllys Duw, gan yrru ym mlaen fwriadau ac amcanion ei Dad.

*Gof.* Yn wir, o'r cyfryw rywogaethau ac sy'n gyffelyb i allu creaduriaid yn y byd, y tueddiadau a'r amcanion hynny a wnant i'w arwyddion ef gael eu rhagori oddi wrth bob hudoliaeth gythreulig.

*At.* Felly y gwnant, ac felly hefyd y gwnai'r *moddion* trwy ba rai yr ydoedd efe yn eu perffeithio. Canys ei arferol foddion ef yn gweithredu rhyfeddodau, nid oeddynt gyfarchiadau dewiniaethol, ond yn unig wrth air o'i ben: *wrth y gwynt a'r mor y dywedai, beddwch, a thawel fyddai:* wrth Mar. 4. 39.
*glustiau'r byddar, ymagor, ac* yn ddiattreg *efe a glywai:* wrth *y dall, dos ymaith, dy ffydd a'th iachaodd, ac yn y man y cafodd efe ei olwg:* wrth Mar. 7. 34. 35. Mar. 10. 52.
*y gwahanglwyfus, yr wyf yn ewyllysio, bydd lân; ac yn ebrwydd ei wahanglwyf a aeth ymaith oddi wrtho.* Y cyfryw weithrediad trwy orchymmynedig air sydd dystiolaeth mor eglur o nefol allu, ac oedd creu'r holl gwbl ar y cyntaf: Canys yna hefyd, Duw yn unig a ddywedodd, *bydded goleuni, a goleuni a fu.* Efe yn unig *a ddywedodd,* Luc 5. 13. Gen. 1. 3. Sal. 33. 9.

ac

*ac felly y bu, efe a orchymmynodd, ac felly y safodd.* Ar fyrr, ei aneirif wyrthiau a ddangosant fwy o allu nefol ynddo ef nag mewn un arall, ïe, nag oedd yn yr holl *brophwydi* o'i flaen ef, a'u rhoddi at eu gilydd. Canys nid oedd y rhifedi gan yr

* — 76 *Iuddewon* o wyrthiau * *Moses a'r holl* † *brophwydi*,
† — 74 amgen na || chant a hanner mewn mwy nâ thair
|| — 150 mil o flynyddoedd: A'r *Iesu* ei hun, mewn tair blynedd, a wnaeth gymmaint a *phed ysgrifennesid*
Io. 21.25 *hwy bob yn un ac un, nid oedd S. Ioan yn tybied y cynnhwysasai y byd y llyfrau a sgrifennesid.* Heblaw ddarfod iddo ef roddi awdurdod i eraill wneuthur yr unrhyw *yn ei enw ef*; ac anfon o hono y gallu hwn i'r *Cenhedloedd* yn gystal a'r *Iuddewon*, yr hyn oedd beth anarferol o'r blaen.

*Gof.* Ai nid aeth yr *Iesu* a'i *apostolion* oddi-amgylch i ddymchwelyd *cyfraith Moses* er mwyn cadarnhau i'w gwyrthiau eu hunain? Ai nid oes gan hynny esgus i'r *Iuddewon* i'w gwrthwynebu hwythau trwy wyrthiau'r gyfraith honno?

*At.* Yr oedd yr *Iesu* cyn mhelled oddi wrth hynny a'i fod ef o hyd yr amser, yn gwneuthur *Moses* a'r *prophwydi* yn dystion iddo, gan ddy-
Io. 5. 46. wedyd, *pe credasech chwi i Foses, chwi a gredasech i minneu, oblegid am danaf fi yr ysgrifennodd efe.*
Ad. 39. *Chwiliwch yr ysgrythyrau, canys ynddynt hwy yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragywyddol, a hwynt hwy yw y rhai sy'n tystiolaethu am danaf fi.*

*Gof.* A'i ni bu i'r gwyrthiau hynny, pan gyhoeddent gyfraith *Moses* i ddyfod oddi wrth Dduw, gyhoeddi hefyd na byddai i neb ddyfod i'w diddymmu?

*At.* Na ddo, ond i'r gwrthwyneb: y *prophwydi sanctaidd* tan y gyfraith honno a gyhoeddasant, y newidid hi, ac y ddymchwelid yr holl bethau hynny i'r rhai yr oedd hi wedi ei chymmhwyso.

*Gof.*

*Gof.* I ba ryw bethau yr oedd cyfreithiau yr *Iuddewon* wedi eu cymmhwyso?

*At.* Eu cyfraith *foesawl*, sef y *deg gorchymmyn* oedd wedi ei chymmhwyso, nid i gyflwr neillduol un lle neu bobl, ond i natur dynol yn gyffredin, ac wrth hynny yn anghyfnewidiol. Gan hynny, y mae ein *Hiachawdwr* yn cyhoeddi, *nad i'w thorri, ond i'w chyflawni y daethai efe*, ac Mat. 5.
i chwanegu atti yr hyn oedd angenrhaid. Ond 17.
cyfraith eu *barnwyr*, trwy yr hon yr oeddynt yn gosod rheolau llys, a gymmhwyswyd yn erbyn dichellion oddi allan, fel yr oeddynt yn stâd gartrefol *yng Nghanaan*. Ac am eu cyfraith ddefodol yr hon oedd yn trefnu *rheolau crefydd* (gan ommedd rhyw rannau eraill o'u mewn, y rhann bennaf honno ynghylch *ebyrth*) oedd i'w ministrio gan *un teulu*, sef *tylwyth Aaron*, ac yn rhwymedig Ecs. 8. 1.
mewn *un lle*, sef *teml Gaersalem*. 1 Cron.

*Gof.* A ddarfu i'r prophwydi dan y cyfreithiau 23. 13. Deut. 12.
hynny ragfynegi dim cyfnewidiad mewn *offeiriadaeth*, 11,13,14.
*addoliad eglwysig* a *chyfraith wledig*? neu Io. 4. 20.
ragddywedyd am sefydlu rhyw bethau newyddion attynt?

*At.* Do, *yn y dyddiau diweddaf* (yr hyn oedd Esay 2 2.
eu hymadroddion arferol am ddyddiau'r *Messiah*) *y bydd i fynydd ty yr Arglwydd fod wedi ei baratoi ym mhen y mynyddoedd, a'r holl genhedloedd a ddylifant atto* *Enw Duw a fydd mawr ym mysg y* Mal.1.11.
*cenhedloedd, o godiad haul hyd ei fachludiad, ac ym mhob lle yr arogldarthir i'w enw, ac offrwm pur:* yr hyn nis cyttuna i fod yr addoliad o hyd yn yr un lle, sef yn *nheml Gaersalem*. A'r *Salmydd* a ddywed mai *offeiriadaeth* newydd a wnair, *yn ol* Sal. 110.
*urdd Melcisedech*, ac nid yn *ol urdd Aaron*: Ac 4.
yna y cymmer Duw iddo ei hun *offeiriaid a lefiaid* Esay 66.
*o genhedloedd eraill*, nid bod yn rhwym wrth *Aaron* 19—21.
*a'i feibion* ddim hwy. Y mae hyn yn dangos fod yr gyfraith i beidio pan beidiai'r offeiriadaeth; Heb. 7.
oedd 12.

oedd yn ei ministrio. Ynghylch amser y *Messiah*,
Dan. 9. medd y prophwyd *Daniel*, y bydd i Dduw *ddinystr-io'r ddinas, a'i gwneuthur yn llwyr anghyfannedd*,
Gen. 49. 10. a'r *deyrn-wialen nid ymedy o Juda hyd oni ddel Silo*. A pha beth a wnai eu barnwyr pan ddarfyddai am eu cyfraith, a phan beidient a bod yn genedl, na bod ganddynt gartref i'w ministrio,
Dan. 9. 26. ac i farnu wrthi? Efe hefyd a *ddinystria'r cyssegr*; ac yna pa beth a ddeuai o'r ebyrth, pan ddifethèr y lle y parasai'r gyfraith aberthu ynddo? Ar fyrr, y maent yn cyhoeddi y rhoddai Dduw *gyfammod Moses* heibio, o herwydd ei ddiffygiadau, *gan roddi un newydd ac amgenach* yn ei le: Ac y byddai iddo ef wneuthur y gyfnewidiad hon,
Jer. 31. 22,31,32. pan fyddai i *fenyw amgylchu gwr*, yr hyn sydd yn nodi dyddiau'r *Messiah*.

*Gof*. Wrth hyny y mae'n amlwg fod cyfraith *Moesen* wedi ei bwriadu i'w chyfnewid yn nyddiau'r *Messiah*. Ac os ydyw yr *Iesu* yn ei diddymmu, nid yw efe er hynny yn gwrthwynebu mor hen *brophwydi*, gan ei fod ef yn cyflawni eu rhagaddewidion.

*A*. Y mae hynny yn wir, yr oeddynt hwythau yn ei gyfaddef yntau, megis yr oedd Duw hefyd pan ddigwyddai'r pethau hynny. Canys pan rwystrodd y *llwythau*, a phan ddinystriwyd y *deml* a'r *wladwriaeth* gan *Vespasian*, efe a roddes y cyfreithiau hynny heibio, megis pethau diles. Eu cyfraith wledig *am brynu a gwerthu etifeddiaeth aerod, diwygiad colledion, cospedigaethau am euogrwydd*, a'r cyffelyb, ydynt bellach yn ddi rym: canys ni chawsant fyth wedi hynny na sefyllfa na gallu i wneud arfer o honynt. Y cyfreithiau y rhai oeddynt i osod yr *offeiriadaeth yn nheulu Aaron*, ac yn cyfarwyddo ei ministriad, a waharddwyd fyth er pan mae'r swydd allan o'r teulu. Y cyfreithiau a'r defodau am *ebyrth*, y rhai a amcanwyd i'r *deml yng Nghaersalem*, a roddwyd allan

dros

dres y drws, fyth er pan ddinystriwyd y deml. A llawer o gyfreithiau eraill (medd gwyr dysgedig) oeddynt *rwymedig i wlad Canaan yn unig*, a gymmerwyd ymaith yn llwyrion er pan drodd Duw yr *Iuddewon* allan, gan eu gwasgaru hwynt ar hyd wyneb y ddaear. Ac felly, nyni a welwn fod yr holl gyfreithiau hynny yn ddiddymmedig gan Dduw ei hun, a chwedi syrthio ol yn ol yngbyd â'u gwlad a'u llwythau cyfrifol, eu llywodraeth wledig a'u teml, yr hon oedd eu prif sylfaen.

*Gof.* Ai nid oedd rhai lleoedd yn son am barhaad rhai o'r cyfreithiau, megis *y pasg*, *y gorchymmyn am y blaen-ffrwyth*, a rhyw rai eraill, i fod Ecs. 12. 17.
yn *ddeddf dragywyddol*, a pha fodd y dioddef y rhain y cyfryw gyfnewidiadau? Lef. 23. 14.

*Atb.* Yn yr un modd a'r *offeiriadaeth*, am yr hon y dywedpwyd, ei bod i *fwinistrio i Dduw yn dragywydd*, er hynny, nyni a wyddom eu dinystrio ers mwy na 1700 o flynyddoedd. Deddfau *annherfynol*, ac *anghyfnewidiol*, ydynt ddau bethau a rhagoriaeth rhyngthynt; ac i'r rhai annherfynol nid oes ammod amser, ac y maent yn aros hyd na ddiddymmir y gallu a'u gwnaeth. Felly, rhai ordinhadau *yngbyfraith Moses* a gyfrifid am *dragywyddoldeb*: nid gan wyrthwynebu'r modd i ddiddymmu, ond er atteb i ryw ordinhadau eraill nad ydynt i'w cyflawni ond ar ol rhyw amser pennodol: megis y gyfraith am *yrru'r Canaaneaid* Ecs. 23.
*allan o'r wlad*, yr hon nid oedd i fod mewn grym 31.
nes myned o'r *Israeliaid* yn eu mysg hwynt: Neu Num. 33.
ordinhaad am ryw *gyflwr neillduol*; megis eu 52.
*mynediad allan o'r gwersyll*; a'r ordinhaad ynghylch y *babell*, yr hyn a barhai yn unig hyd na Ecs. 40.
ddewisai Dduw le cyfaddas i adeiladu *teml*. Eithr ym mhlith y cwbl oll, y rhai hynny a ddywedpwyd eu bod i *barhau yn dragywydd*, nid oeddynt amgen nag i *aros hyd ddiwedd rhyw helwyl, neu i gilydd*,

*gilydd*, neu dan ryw *ddychweliad newydd:* Megis
1 Sam, 1. y dywedpwyd am *Samuel*, ei fod ef i *aros ger bron*
22. *yr Arglwydd yn dragywydd*, hynny oedd, tra byddai
efe byw. Felly hefyd yn ffurf *cyfraith Loegr*, fe
a ddywedir fod etifeddiaeth wedi ei gadaw i'r
cyfryw un yn dragywydd, hynny yw, am ei oes;
Ecs. 21.6. a gweinidog ynghyfraith yr *Iuddewon* a ddywedid
ei fod ef, neu hi, i weini yn *dragywydd*, yr hyn
Lef 25. oedd, gweini hyd at y *Jubili nesaf*, canys goll-
40, 41. yngdod cyffredin ydoedd hwnnw, a dechreu cyfrif
newydd. Ac felly yr oedd cyfraith *Moses* i barhau
yn *dragywydd*, hynny oedd, hi a barhaodd dan
ddiwedd yr amser i'r hwn yr oedd hi wedi ei
chymmhwyso, gan ddal i fynu nes dyfod o *Grist*,
dyfodiad pa un oedd ddechreuad *oes newydd*, i'w
Mic 4. 1. deall wrth ymadroddion *iuddewig*, *y dyddiau di-*
1 Ped. 1. *weddaf*, a'r *amser diweddaf*, a'r *byd i ddyfod.*
20. Heblaw hynny, pob rhan o'r gyfraith a'r oedd
Heb. 2. 5. o ran cyffelybrwydd, oeddynt yn unig o ddull
Gal. 3. 24. prophwydoliaeth dywyll, yr hon oedd ein *hathrawn*
*i'n dwyn at Grist*, gan grybwyll, trwy gysgod
am y daioni oedd i ddyfod oddi wrtho ef; a'r
cysgod hwn a ddiddymmwyd o fesur ychydig
trwy ei gyflawniad ef, megis y diddymmir pob
rhagddywediadau gan eu perffeithio.

*Gof.* Mysi a welaf wrth hyn nad oes mor am-
rafael rhwng ein *Iesu* ni a *Moses* a'r *prophwydi*;
ac mai pan droes yr *Iesu* y gyfraith honno heibio,
nad oedd hyn amgen nâ'r peth yr oeddynt hwy
yn ei obeithio am dano, gan gyflawni yr hyn a
ragddywedpwyd ganddynt hwy, trwy eu gwneu-
thur yn oleuach, a diwygio eu diffygiadau, ac
ordeinio amgenach cyfraith yn ei lle?

*At.* Gwirionedd yw. Gan hynny, holl wyrth-
iau yr *hen destament*, nid ynt yn gwrthwynebu,
eithr y maent yn hytrach yn cadarnhau gwyrth-
iau yr *Iesu*, yn gymmaint a dywedyd o hono ef
wrth yr *Iuddewon*, mai os credent hwy i *Foses*, y
byddai

byddai iddynt gredu *iddo yntef*: eithr os hwy a'i troent ef heibio, y byddai i'r enwedig *Foses*, *yn yr hwn yr oeddynt yn gobeithio, eu cyhuddo hwynt*. Io. 5. 45, 46.

*Gof*. Y mae yn amlwg wrth hynny fod gwyrthiau 'r *Iesu* wedi eu perffeithio trwy *fys Duw*; gan hynny nid heb achos y dywedai'r *Iesu*, *yna y daeth teyrnas Dduw attoch*. Eithr chwi a grybwyllasoch am *dystiolaeth nefol* i brofi mai yr *Iesu yw y Crist*, ac mai *tystiolaeth y Tad* ydoedd; chwenychwn glywed hon hefyd? Mat. 12. 28, 29.

*At*. Y dystiolaeth hon y mae'r *Iesu* yn ei rhoddi am dano ef ei hun, megis yn chwanegiad at dystiolaeth ei weithredoedd; *y gweithredoedd hynny, y rhai yr ydwyf i yn eu gwneuthur, sy'n tystiolaethu am danaf i*. Io. 5. 36, 37.

*Gof*. Ond gan ein bod ni yma ar y ddaear, a'r *Tad* yn y nefoedd; a chan nad yw efe yn ymddiddan â dynion mewn modd gweledig: pa fodd y rhoddes efe ei dystiolaeth iddo? Pen. 8. 17, 18.

*At*. Yn gyntaf, trwy leferydd glywedig, *ni chlywsoch chwi ei lais ef un amser*, eb yr *Iesu* wrth yr *Iuddewon*, pan oedd efe yn son am dystiolaeth y *Tad*. Yn ail, trwy *ei gyfodi ef o feirw*, a'i ddangos mewn *cwbl feddiant o'i gyhoeddiad ef am dano ei hun*. Io. 5. 37.

*Gof*. A glybuwyd Duw'r *Tad* yn dywedyd mai'r *Iesu oedd y Crist?*

*At*. Do, amryw weithiau. Efe a ymddangosodd mewn gwisg oleu a disglair, sef arwyddnod ei arferol bresennoldeb i *Foses wrth y berth*, ac a roddes ei dystiolaeth soniarus i'r *Iesu*, mewn geiriau mor ddeallus ac yr arferai o'r blaen i *Foses*, neu megis ninnau yn tystiolaethu y naill i'r llall. Hyn a ddigwyddodd gyntaf ar ei *fedydd* ef o flaen *Ioan fedyddiwr*, gan ddywedyd, *Hwn yw fy anwyl fab, yn yr hwn y'm bodlonwyd*. A thrachefn yn ei *wedd-newidiad*, o flaen tri o'i *apostolion*, sef, *Pedr*, *Iago* ac *Ioan*, pan ddaeth *llef allan o'r* Mat. 3. 17. Mat. 17. 1, 5.

 *cwmmwl*

*cwmmwl goleu, gan ddywedyd, hwn yw fy anwyl fab, yn yr hwn y'm bodlonwyd, gwrandewch arno*
2 Ped. 1. 16—18. *ef:* Yr hon *lef* medd *S. Pedr*, *oddiwrth fawr ragarol ogoniant Duw'r Tad, a glywsom ni, pan oeddym gyd ag ef yn y mynydd, wedi gweled ei fawredd ef â'n llygaid.* A'r un peth a fynegodd efe drachefn y drydedd waith, o flaen tyrfa, pan fu i *Andreas a Philip ddwyn y Groegiaid atto ef:* Canys, o'u
Io. 12 28. blaen hwynt oll, yr *Iesu a weddiodd, O Dad, gogonedda dy enw. Yna y daeth llef o'r nef, Mi a'i gogoneddais, ac a'i gogoneddaf drachefn.* A hyn sy'n gyhoeddiadau eglur gan Dduw ei hun, nid wrth gyffelybiaeth, megis mewn breuddwyd ar ddychymygion dynion, ond yn eiriau hyspysol ac eglur, megis y cyfryw ac a arferai gynt gyd ag
Gen. 3. 8, 9. *Addaf ym Mharadwys*, neu *Moses wrth y berth:*
Ecs. 3. 4. pan ymddangosai mewn cwmmwl goleu gogoneddus, megis ei gynnefinnol arfer ymddangosiad pan fyddai efe ei hun yn bresennol, efe a lafarodd wrth ddynion, megis gwr yn ymddiddan â'i gymmydog.

*Gof.* A ddarfu i'r *Tad* dystiolaethu mai'r *Iesu* oedd y *Crist* wrth ei gyfodi ef oddiwrth y meirw, a'i ddangos mewn meddiant o'i gyhoeddiad ef am dano ei hun?

*At.* Do: *a'r trydydd dydd, efe a adgyfododd*, fel
Act. 2. 24, 32. yr ŷm ni yn proffesu yn y *credo.* A'r *Hollalluog Dduw a'i cyfododd ef:* ac wrth hynny, efe a wirjodd ei dystiolaeth. Canys ar ol i'r *Iuddewon* wneud eu hamcan, gan ei roddi ef i farwolaeth greulon: Duw, wrth ei gyfodi ef drachefn, a ddad-wnaeth eu gweithred, ac a'i cyfiawnhaodd ef, megis *un* nad oedd gan farwolaeth awdurdod arno; a'i fod ef yn deilwng i fyw drachefn. Efe a roddwyd i farwolaeth yn y cnawd, ond a gyf-
1 Tim. 3. 16. iawnhawyd *yn yr yspryd*, trwy yr yspryd nefol
Rhuf. 1. 4. hwnnw a'i cyfododd ef o feirw. *Efe a eglurwyd yn*

*yn fab Duw mewn gallu, trwy'r adgyfodiad oddiwrth y meirw.* Ie, ar ol ei adgyfodiad, efe a'i gosododd yn y nef ar ei ddeheulaw ei hun, yn amgylchedig â gogoniant y Duwdod, awdurdod arferol o bresennoldeb mawrhydi Duw: yn yr hon barchedig ddull yr ymddangosodd i *Stephan*, i'w barottoi ef erbyn ei *ferthyrdod*; ac i *Saul* erbyn ei *droad*. *Iesu* yn ymddangos iddynt oddi wrth ddeheulaw Dduw mewn gogoniant mwy nâ *goleuni yr haul*. A chwedi ei osod ef yno, efe a roddes yr *Yspryd Glan* yn ei ymddiried ac wrth ei ewyllys ef ei hun: Yr hyn sydd dystiolaeth eglur fod pob gallu yn y nef, yn gystal ac ar y ddaear, wedi ei roddi iddo ef. Yr hwn allu a ddangosodd efe yn amlwg, nid yn unig gan anfon yr *Yspryd Glan* ym mhob rhagorol ddoniau ar ei *apostolion* ei hun, ond hefyd, gan roddi iddynt hwythau allu trwy *arddodiad dwylo yn ei enw ef*, i drefnu yr unrhyw ar aneirif o'i ddilynwyr ef, modd y dengys *Actau'r apostolion*, ac ysgrythyrau eraill.

Act. 7. 55.
Act. 26. 13, 14, 16.

*Gof.* Nis gofynaf i chwi ddim ychwaneg mewn perthynas i'r pwngc yma, sef mai'r *Iesu yw y Crist*: Canys y cyfryw arddangosiad ac a ddaliasoch arno, sydd lawn ddigon i gynnyddu creduniaeth mewn pob meddwl ystyriol, ac sydd yn ewyllysgar i dderbyn athrawiaeth. Eithr am rai gwammal, ymrysongar, neu ddeillion anewyllysgar, ac anghredadwy, ni wiw disgwyl cael mo'rhai hynny yn ddarostyngedig i reswm nac araith: Ond gan adeiladu ar siccrwydd y ffydd mai'r *Iesu yw y Crist*, ai nid ydyw hynny yn profi *awdurdod y testament newydd*, yr hwn i'w ei air ef?

*At.* Ydyw. Canys y mae hwnnw yn cynnwys ynddo, un ai'r hyn a ddywedpwyd, neu a wnaethpwyd ganddo yn ei fywyd, neu ynteu a orchymmynodd efe i'w *apostolion* wneuthur a dysgu

yn ei enw ef ar ol ei farwolaeth. Yr unrhyw brofiadau a thyſtiolaethau ac a'i cyflawnhodd ef, a roddant hefyd awdurdod i'w deſtament, yr hwn, ar ei ol ef, ſydd yn rhoddi'r gair i ni, ar gyhoeddiad pa un, yr holl dyſtiolaethau hyd yn hyn ydynt oll yn ſiccrhau mai'r *Ieſu yw y Criſt*.

*Gof*. Myfi a glywais ddigon i beri i mi goelio a gweled mor ddaionus a lleſol yw gwybodaeth y *ffydd yng Nghriſt*. Dymunwn glywed ychwaneg mewn perthynas i bob *bann* o'r ffydd hon ar ei ben ei hun?

*At*. Y *bannau* hynny ydynt oll yn gynnwyſedig yn y *credo* i'r hwn y bedyddiwyd ni. Ac myfi a wnaf fy ngoreu ar yſpyſu yr unrhyw yn y bennod neſaf ſydd yn canlyn.



YR



Y R

# WYBODAETH AM DDUW.

NEU

## ESPONIAD PRIODOLIAETHAU 'R DUWDOD, A'I RAGLUNIAETH.

## PENNOD I.

*Am Hanfod, a Phriodoliaethau* DUW.

### Y CYNNHWYSIAD.

*Mae'r byd yn cyhoeddi fod Duw. Mae efe yn yspryd tragywyddol, ar yr hwn y mae pob peth yn ymddiried.* Sancteiddrwydd *Duw. Eglurhaad amryw bethau a feddylid eu bod yn gormesu ar ei gyfiawnder ef: megis pan ddywedir fod Duw yn caledu calonnau dynion. Yn anfon dallineb ysprydol, a cham-syniad. Yn anfon gau ysprydion i dwyllo* Ahab: *ac hudoliaeth nerthol. Duw yn rhoddi dynion ar amserau dan hudoliaeth ysprydion drwg. Ymocheliad rhag hynny. Yn rhoddi yspryd swrth i ddynion. Pa fodd (er maint casineb Duw i bechod) y mae efe yn cael cynhwysiad yn y byd. Am* ddaioni *Duw. Cam-syniad ei ddaioni. Ym mha beth y mae'r cam-syniad. Am* uniawn-farn *Duw, neu* gyfiawnder. *Hynny yn cael ei amlygu wrth roddi uniawn gyfreithiau, a bwrw barn gyfiawn wrthynt, heb dderbyn wyneb. Ei ddull yn cospi, yn lân oddi wrth gam osod cospedigaethau,*

*gan gospi'r naill am bechodau'r llall. Ac oddi wrth roddi barn ry-dost, gan roddi cospedigaeth dragywyddol am bechod munudol. Rhai enllibion ar y Duw cyfiawn hwn yn cael eu glanhau ymaith.* Presennoldeb *Duw ym mhob lle. Yr effaith o hynny.* Ffydlondeb *Duw. Dangosiad hyn yngnghyflawniad ei addewidion: a hynny, nid mewn ffordd dywyll, ond mewn ffordd eglur a goleu. Ac wrth ei wastadol dueddfod at ei gyfeillion a'i weinidogion ffyddlon: Yr hyn nid yw annogaeth i ail ddychwelyd at eu pechodau.* Doethineb *Duw. Hyn yn cael ei ddangos wrth ei waith yn gosod uniawn bris ar bob peth; na ynnillwyd ac na chollwyd mo honaw ef wrth ddiles wasanaeth iddo. Yn dirnad iawn werth a gallu pob amcan, a therfyniad pob trefniadau; yr hyn a ddylai fagu ynom barch i'w ordinhadau. Yn gweled yr amseroedd goreu a'r tymmorau cymmhwysaf i bob amcanion: fel na bo i ni achos i weled un math ar warediad yn rhy hwyr, neu gystudd yn dyfod yn rhy fuan. Nid oes fodd i garu Duw heb garu a dilyn y rhinweddau nefol hynny.*

## Y Bennod yn canlyn.

*Gofyn.* PA rai ydyw *bannau'r ffydd Gristianogol?* neu y *rhannau pennodol hynny*, i'r rhai y mae pob *Cristion* yn credu?

*At.* Y maent yn gynnwysedig *yngbredo'r apostolion*, sef.

*Credaf yn Nuw Dad holl-gyfoethog, Creawdr nef a daear. Ac yn Iesu Grist ei un Mab ef, ein Harglwydd ni: yr hwn a gaed trwy'r Yspryd Glan, a aned o Fair forwyn: a ddioddefodd dan Pontius Pilatus, a groeshoeliwyd, a fu farw ac a gladdwyd, a ddisgynnodd i uffern, y trydydd dydd y cyfododd o feirw; a esgynnodd i'r nefoedd, ac y mae yn eistedd ar ddeheulaw Dduw Dad holl-gyfoethog, Oddi yno y daw*

*y daw i farnu byw a meirw. Credaf yn yr Yspryd Glan, yr Eglwys lân gatholig, Cymmun y Saint, Maddeuant pechodau, Adgyfodiad y cnawd, a'r bywyd tragywyddol.* Amen.

*Gof.* A ydyw'r *credo* hwn yn cynnwys ynddo bob *bann* o athrawiaeth ac sydd angenrhaid i *Grist-ion* i'w gredu?

*At.* Ydyw, canys hwy a roddwyd yn *gyffes ffydd*, ac i gym mhwyso dynion i *fedydd*; ac yn arwydd fod dyn yn *Gristion:* a gofal a gymmerwyd i wneuthur y *bannau* hyn yn rheolau perffaith.

*Gof.* Pa ryw un yw'r *bann* cyntaf o'r *credo?*

*At. Credaf yn Nuw Dad oll-gyfoethog, Creawdr nef a daear.*

*Gof.* Pa fodd y dangosir fod Duw?

*At.* Wrth y byd yr hwn a wnaeth efe. Megis nad allwn lai nâ chyfaddef y cyfryw yn ben saer celfyddgar, pan edrychom ar ei waith ef mewn adeilad mor dêg, a phob peth wedi ei drefnu mor ddifai: neu awdur dysgedig wrth reolaeth ei ysgolheigtod mewn llyfr o'i waith: neu weithiwr amcanus wrth ei waith ar awrlais (*a*) celfyddgar a chywir yn ei amrywiol raddau mynediad, neu ryw ddryll o fanylwaith arall. A hyn a ddengys i ni, nid yn unig fod Duw, ar ba un yr ydym ni a'r holl fyd creeudig hwn yn ymddiried: ond hefyd ei fod ef yn ddoethaf, galluoccaf, a goreu: o herwydd y gallu, doethineb a'r daioni mwyaf sydd yn ymddangos ym mherffeithrwydd ei waith ef. *Canys ei anweledig bethau ef er creadigaeth y* Rhuf. 1.
*byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir* 20.
*yn amlwg; sef ei dragywyddol allu ef, a'i Dduwdod, hyd onid ydynt yn ddiesgus.*

*Gof.* Yn wir, nid all dim fod yn amgenach rheswm, nâ bod pen gwneuthurwr i'r holl fyd; ac nad allwn ni a'r holl bethau o'n hamgylch, y rhai



(*a*) Clocc.

rhai sy'n tarddu ac yn gwywo, wneuthur mo honom ein hunain: Ac o'r holl bethau sy yn y cyfryw drefn ryfeddol, cysondeb a lles, nid un, chwaethach y cwbl, a allasai gael ei osod na'i drefnu gan *ddamwain* ddall ddiamcan. Gan hynny, yr wyfi yn meddwl fod y prawf hwn o *hanfod Duw*, drwy leferydd ei waith yn ddigon i beri i'w greaduriaid rhesymmol ef gredu.

*At*. Felly yn wir y mae: ac er dechreu'r byd, felly y gwnaethant. *Nid oes nac iaith nac ymadrodd, lle na chlybuwyd eu lleferydd hwynt, eu llinyn a aeth trwy'r holl ddaear, a'u geiriau hyd eithaf y byd.* Wrth hyn a'r cyffelyb, yr holl bobl, ym mhob oes a chenedl, oeddynt yn credu ac yn cyfaddef fod Duw, gan draddodi'r greduniaeth hon i'w plant ar eu hol. A chan hynny, nid eill neb o berchen rhesẁm wrthwynebu hyn, gan ei fod ef, wrth hynny, yn ymosod yn erbyn pawb o bob amseroedd, ac yn erbyn yr hyn oedd yn cael ei adael yn egwyddor mwyaf diammeu o bob dynol ystyriaeth er pan y mae dim o'r fath bethau mewn hanfod. Gan hynny, os oes neb yn sefyll yn erbyn y cyfryw, trwy gymmeryd arno warantu'r peth trwy resẁm, yr oedd ynte bob iaith a chenhedlaeth o'i flaen ef yn ddireswm.

Sal. 19. 3, 4.

*Gof.* Pa bethau a ddylem ni eu gwybod a'u credu mewn perthynas i Dduw?

*At*. Yn gyntaf, ei *Dduwdod a'i nefol briodoliaethau*; yn ail, *ei ragluniaeth*.

*Gof.* Nid oes mewn crefydd ddim yn fwy angenrhaid nag ydyw iawn ymsyniad am Dduw Hollalluog. A ydyw efe yn debyg i ddim a'r a ganfyddom ni â'n golygon, neu a deimlom ni â'n dwylo, neu a fedrom neillduo mewn deall-twriaeth neu amcan?

*At*. Nag ydyw. Yn yr *ysgrythur*, yn wir, y dywedir fod iddo *glustiau a llygaid*, a *dwylo* a *thraed*, (ond fel y dywedai y *rabiniaid iuddewaidd*, y mae'r

*gyfraith*

*gyfraith yn son am Dduw â thafod plant dynion*)
Eithr nid ydym ni i ddeall fod ganddo ef y cyfryw rannau, ond yn unig ei fod ef yn meddiannu dealltwriaeth bur a hollawl, ac yn perffeithio pob peth megis un na byddai arno ddiffyg y cyfryw rannau. Yr anweledig Dduw, *yr hwn ni welodd dyn erioed*, *yspryd yw*, medd ein *Hiachawdwr*. A hyn a ddysg i ni yn ein holl wasanaeth a'r a wnelom iddo ef, na feddyliom am ei fodloni ef ag ymddangosiad oddi allan, anrhegion na defodau; ond yn hyttrach fod genym awyddfryd o'n mewn, gan roddi o'i flaen ef bob amser y galon a'r yspryd: canys *yspryd yw Duw, a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef; addoli mewn yspryd a gwirionedd*. Ac ym mhellach, na wnelom ddelwau corphorol, na chyffelybiaeth iddo, gan ferchi ei addoli ef trwyddynt hwy: Canys wrth geisio gwneuthur cyffelybiaeth i yspryd pur, di gorph, yr ydym yn gwneuthur *cam â'i ogoneddus fawredd*; ac wrth ei anrhydeddu, yn y modd hwnnw, yn ei lwyr ammherchi. *Ni welsoch ddim llun yn y dydd y llafarodd yr Arglwydd wrthych*, medd *Moses* wrth yr *Iuddewon*: *gwiliwch gan hynny yn ddyfal ar eich eneidiau, rhag ymlygru o honoch, a gwneuthur ichwi ddelw gerfiedig*. *Ac na wna it lun dim a'r sydd yn y nef, na'r ddaear, i ymgrymmu iddynt*, medd y *gyfraith*.

1 Tim. 6. 16.
Io. 4. 24.
Io. 4. 24.
Rhuf. 1. 23, 25.
Esay 44. 20.
Deut. 4. 15, 16.
Ecs. 20. 4, 5.

*Gof*. Ond er na allom ni ei ganfod ef â'n golygon, etto ni a allwn ei amgyffred mewn llawer modd yn ein meddyliau. Eithr chwi a ddywedasoch mai un ydyw'r *Duwdod*: Pa beth a feddylir wrth hynny?

*At*. Ei *benllywodraeth*, sef ei fod ef yn hanfod goruchaf, heb sefyll ar neb, na dim arall, ac ar yr hwn y mae pob peth arall yn ymddiried: eithr dynion yn enwedig, y rhai ar y cyntaf a wnaethpwyd ganddo ef, ac ydynt fyth yn sefyll

arno

Act. 17. arno ef. *Ynddo ef yr ydym ni yn byw, yn symmud,*
28. *ac yn bod.*

*Gof.* Os nad rhaid iddo ef sefyll ar ddim arall, y mae'n hawdd gwybod ei fod ef o dragywyddoldeb, ac nad oes ddiwedd iddo?

*At.* Felly y mae, oblegid nid oedd dim o'i flaen ef i roddi dechreuad iddo. Ac felly, oni buasai iddo fod o dragywyddoldeb ni allasai efe fyth mor bod.

*Gof.* Os yw pob peth, yn enwedig dynion, yn sefyll wrtho, y mae yn rhaid i bawb fod yn ofalus i'w wasanaethu ef er adeiladu crefydd?

*At.* Hynny a ddylai fod yn ddiammeu: A'r rhai sy'n credu hynny yn eu calonnau, felly y gwnant.

*Gof.* Pa rai ydyw *priodoliaethau y Duwdod*, y rhai sy'n dangos pa fath ddynion y ddylem ni fod i'w foddio ef?

*At.* Duw sydd yn gwbl *sanctaidd, daionus, cyfiawn, ffyddlon, doeth*, a *galluog: yn bresennol ym mhob man*; ac yn *anghyfnewidiol.*

*Gof.* Pa beth a feddylir wrth *burdeb nattur* Duw a'i *sancteidrwydd?*

*At.* Ei fod ef yn hollawl lan oddi wrth bechod ynddo ei hun; a'i anghyfnewidiol wrthwynebiad
Sal. 5. iddo mewn dynion. *Nid yw efe yn ewyllysio*
4. 5. *anwiredd*, y mae efe yn *casau holl weithredwyr anwiredd*, gan hynny, *drwg ni thrig gyd ag ef.*

*Gof.* Os ydyw *nattur* Duw mor anghyfnewidiol, ni chymmodir ef fyth â phechodau dynion; ac nid ymhoffa mewn dyn a barhao i fod yn bechadur?

*At.* Na wna, cynt y daw goleuni a thywyllwch, tân ac eira i gydfod, nag y daw efe i gydfod â
Heb. 1. phechod, ac *nid edrych ar anwiredd.*
13. *Gof.* Gan fod *sancteiddrwydd* Duw yn dangos y cyfryw gasineb i bechod ac anwiredd, y mae hynny'n

hynny'n dangos ynddo ryw beth amgenach nâ ferch i harddwch oddi allan, neu gasineb i ymddygiad anfoesol?

*At.* Felly y mae. Canys *sancteiddrwydd* Duw sydd yn arwyddo ei allu rhagorawl, A chyfarch ei fawrhydi digymmar, neu ddim arall ar a fo berthynol iddo, heb yr anrhydedd ddyledus, sydd yn ei halogi a'i ddibrisio ef: lle y mae efe yn achwyn ar yr *offeiriaid* yn *Ezeciel*, ni *wnaethant ragoriaeth rhwng pethau cysegredig a halogedig*. Y mae'n rhaid i'r *creawdr* mawr digymmar gael parch rhagorawl yn ein hymddygiad oddi allan. Canys pan fyddent hwy gynt yn esgeulus tuag atto ef mewn *rhoddion* ac *anrhegion*, efe, gan achwyn, a ddywedai nad oeddynt yn ei arfer ef megis eu *brenin mawr ac ofnadwy*: gan chwanegu, fod eu *bawdolchgarwch yn fawr*, canys ni feiddient ymddangos felly o flaen un *llywodraethwr* daearol. Ond er mai casineb i *ymddygiad ammharchus oddi allan* ydyw un peth y mae yn ei ddangos, etto, nid ydyw hyn ond y tu allan i sancteiddrwydd Duw. Gan hynny nid gwiw ceisio ei fodloni ef â defodawl ymddangosiad, gan fod yn rodreslyd ynghylch lle, neu drwsiad, gosodiad neu wisgoedd hardd, gwasanaeth neu orchwyl, heb roddi heibio bechod ac anwiredd; yr hyn a'i digia ef yn waeth nâ dim! ac y mae hefyd yn wrthwyneb i'w *sancteiddrwydd* ef. Ac fel y mae hyn heb y llall yn fusgrelli: felly hefyd, nid yw'r llall hebddo yntef ond gwag-rith moesgar, a defod wael anfuddiol.

Sal. 89. 18. Esay 6.3. Heb. 1. 12. Ezec. 22. 26. Mal. 1.8, 13, 14.

*Gof.* Os ydyw'r Duw sanctaidd hwn mor anghymmodol â phechod, yn ddiau nid oes le i ddisgwyl ei fod ef yn llunio pechod?

*At.* Nag oes. *Na ddyweded neb pan demtier ef, gan Dduw y'm temtir: canys Duw nis gellir ei demtio â drygau, ac nid yw efe yn temtio* nac yn annog *neb*. Y *cythraul* sydd yn temtio (yr hwn

Ia.g1.13.

yn

Mat. 4. 3. yn yr *yſgrythur* yw y *temtiwr*) a *dynion drwg*, y
Iag. 1. 14. rhai ydynt waſanaethgar iddo. A'n *chwantau*
*ein hunain* yn fwy nâ dim, *pan y tynner ac y llithier*
*ni ganddynt*, fel y dywed *S. Iago*. Ond am y
ſancteiddiaf Dduw, nid yw efe yn caniattau i'n
pechodau mor cynnyddu, ond yn hyttrach yn eu
Sal. 5. 4. gwahardd. *Nid oes ganddo ef ddiddanwch mewn*
*anwiredd*, neu yn ol cyfieithiad y (*a*) *Septuagint*,
*nid yw yn ewyllyſio anwiredd.*

Ecs. 10 1. *Gof.* Ai nid ydyw Duw yn dywedyd *iddo ef*
Pen. 14. *galedu calon Pharaoh, a chalonnau ei weinidogion*
4, 17. *ef*; ac oni ddywedir hefyd iddo *annog Dafydd i*
*gyfrif Iſrael a Juda?*

*At.* Felly y mae: Ond Duw a wnaeth hyn, nid o ran peri na gorchymmyn y cyfryw beth o'i ran ei hun, eithr gan attal ei ras, a gadael i ddynion ymgaledu drwy eu hanwydau eu hunain, ac yſtrywiau yſprydion drwg. Ac felly y dywedir
Ecs. 8. am *Pharaoh*, *iddo ef galedu ei galon ei hunan*, ac
15, 32. am *Ddafydd*, *i Satan ei annog ef i gyfrif Iſrael.*
1 Cron.
21. 1. *Gof.* Pan fyddo i Dduw attal ei ras, y mae
pechod yn cynnyddu; a phan nad yw yn caledu calonnau dynion ei hunan, y mae efe yn goddef iddynt gael eu caledu gan yſprydion drwg, neu'r cyffelyb?

*At.* Nag ydyw: nid yw amgen na phan fo yn gorfod iddo, megis *barnwr* cyfiawn. Canys nid ydyw efe un amſer yn neillduo mo'i ras, gan adael dynion i'w hanwydau eu hunain, a than yſprydion maleiſus, nes y byddo iddynt yn gyntaf fforfettio eu gras trwy ei fynych wrthod, a digio Duw. Megis y dywedpwyd, (*b*) *a chalon Pharaoh a galedodd:* ni ddywedir wrth hynny i Dduw
Ecs. 7 13. *galedu calon Pharaoh* ac anfon ei blaau ar ei galon;
Ecs. 9. nes i *Pharaoh* amryw weithiau anufuddhau, ac o
12, 14. Ecs. 8. wir gyndynrwydd *galedu ei galon ei hun*. A phan
15, 32. ddywedir

(*a*) Οὐχὶ θέλων ἀνομίαν.

(*b*) See Dr HAMMOND's Annotat. on *Rom.* 9. 18.

ddywedir i *Dduw annog Dafydd i gyfrif Israel a Juda*, dywedir hefyd ym mhellach, i'w *pechodau* hwynt ei annog ef i *ddigofaint*, yr hyn a wnaeth iddo oddef i *Ddafydd* wneuthur felly. Yspryd Duw sydd yn cael ei wrthod a'i droi heibio, cyn iddo ef ei gymmeryd oddi wrth ddynion, a'u gadael hwynt yn eu drwg anwydau, neu i'w caledu gan yspryd aflan yn gweithio ynddynt. 2 Sam. 24. 1.

*Gof.* Pa beth a feddylir pan fyddo i Dduw fygwth dynion ag *yspryd dallineb*, sef y byddai iddynt *glywed, ond na ddeallent, a gweled, ond na wybyddent*: Yr hon *farnedigaeth* medd *S. Paul* a *ddaethai ar yr Iuddewon anghredadwy*: megis y mae ein *Hiachawdwr* ei hun yn dal sulw. Esay 6.9. Rhuf. 11. 7, 25. Mat. 13. 14, 15.

*At.* Nid gan eu llenwi â beiau yn y byd, neu gan eu hyrddu hwynt i neb ryw weithred ddrwg, heb agor eu llygaid: eithr gan eu gadael i'w rhagfarn dywyll eu hunain, yr hon nis gad iddynt weled na chlywed dim a'r a fo yn ymosod i'w herbyn: gan neillduo moddion gwybodaeth, o waith eu hir ddiystyru a'u cam arferu hwynt. Gan hynny, medd ein *Hiachawdwr* am yr *Iuddewon, yr ydwyf yn llafaru wrthynt hwy ar ddammegion, canys a hwy yn gweled nid ydynt yn gweled, ac yn clywed nid ydynt yn clywed*, hynny yw, ni fynnent mor peri iddynt weled na chlywed drwy ymadroddion eglur. Cospedigaeth dallineb ysprydol yr hon y mae *S. Paul* (o ran y *Rhufeiniaid*) yn ei alw yn *rhoddiad i fynu i feddwl anghymmeradwy*, i ba yspryd, Duw a'u rhoddes hwynt i fynu, ar ol iddynt eu hunain wneud eu rhan ar ddwyn hynny i ben, ac felly, o gyfiawnder, hwy a roddwyd i fynu. *Oblegid a hwy yn adnabod Duw, nis gogoneddasant ef megis Duw*: gan hynny, *Duw a'u rhoddes hwynt i fynu i feddwl anghymmeradwy*. Eu meddwl anghymmeradwy oedd ffrwythau truenus eu hanwydau, a'u *calon annealllus*, nodedig Mat. 13. 13. Rhuf. 1. 28. Rhuf. 1. 21, 28.

Rhuf. 1. edig yn yr adnodau hyn. Ni adawodd Duw mo
Ad. 21, honynt nes iddynt hwy yn gyntaf, drwy gau
23,25,26. addoliad a drwg arferion, nid yn unig ei adael,
ond ei yrru ef a'i lewyrchedig yspryd ymaith
oddi wrthynt.

*Gof.* Eithr pa beth a feddylir wrth gyfiawr *Abab?* ai ni ddarfu i Dduw ei dwyllo ef?

*At.* Na ddo: ond yn unig ei adael ef i'w dwyllo gan ysprydion drwg; ac ni bu mo hynny hyd na *ymwerthodd Abab i wneuthur drwg*, ac o ran hynny a haeddodd yn gyfiawn gael ei adael ganddo ef. Yr ysprydion drwg (er bod ganddynt ddigon o ewyllys i wneuthur niweid i ni) sy'n cael eu hattal mewn cadwynau a lleffetheiriau, ac nis gollyngir onid trwy gennad Duw. A chan hynny pan fo i angylion da ddychwelyd i roddi cyfrif o'u gwasanaeth ar y ddaear, ymbell un o'r rhai drwg (megis yn amser *Job*,) a ymwthia ym mysg y dyrfa i ddisgwyl awdurdod, un ai i brofi ai i gospi, neu ynteu i gael gweled pwy a roddir i fynu. Felly y gwnaeth *Satan* pan gafodd efe
Job 1.6, orchymmyn yn erbyn *Job*, *er profi ei amynedd ef.*
Ac felly, ar dro arall, pan orchymmynodd Duw
1Bren.22. *dramgwydd Abab*, yspryd drwg a ymddangosodd,
19—22. gan gynnyg ei wasanaeth gwirfodd i fod yn *yspryd celwyddog yngenau ei holl brophwydi ef*, er mwyn ei annog i *dramgwydda yn Ramoth Gilead*, yn gyfiawn gospedigaeth am ei ddrygioni: A Duw, nid yn unig a ddywed y byddai i *Abab* ei wrando ef, ond hefyd a archodd iddo fyned a gwneu-
Io 13 27. thur felly: Megis yr archodd *Crist i Judas* pan
Mat. 8. *aeth efe allan i'w fradychu ef*, a hefyd i'r *cythreul-*
32. *iaid* pan *aethant i'r genfaint foch:* nid gan roddi gorchymmyn ac awdurdod iddo, ond gan ei ollwng ef yn rhydd i wneuthur ei ddrwg fwriad ei hun.

*Gof.* Ai hynny y mae S. *Paul* yn ei grybwyll am dano dan enw'r *dirgelwch mawr o anwiredd*,

neu'r

*neu'r dyn pechod*, sef *y danfyn Duw iddynt amryfusedd* 2 Thes.
*cadarn fel y credent gelwydd, am na dderbyniasant* 2. 11.
*gariad y gwirionedd, ond ymfodloni mewn anghyfiawnder.*

*At.* Ie, yr hudoliaeth oedd trwy roddi cennad i ysprydion drwg i'w hudo hwynt. Efe a ddaw
*gyd â phob dichell anghyfiawnder, ac arwyddion a* 2 Thes.
*rhyfeddodau gau yn ol gweithrediad Satan.* Felly, 9. 10.
Duw, yn danfon hudoliaeth nerthol yn y dyddiau hynny, oedd gollwng *Satan* yn rhydd, gan adael iddo wneuthur profiadau teg a dichellion er hudo dynion, yr hyn a wnai'r gwaith gyd â'r rhai a hoffent anghyfiawnder, ac i fod heb ganddynt *gariad i'r gwirionedd*, ond o'u gwirfodd a groesawent ryw bechod pleserus yn ei le.

*Gof.* Ai mynych y bydd i Dduw roddi dynion dan hudoliaeth yspyrdion drwg?

*At.* Ie, canys y mae ganddynt awdurdod gyffredinol ar gamsyniadau yn gystal a throseddiadau dynion: Ond y mae ganddynt fwy awdurdod ar hudoliaeth, mewn graddau mwy neu lai, wrth fel y bo'r dynion neu deyrnasoedd, o waith eu balchder a'u hanniweirdeb wedi eu cynnwys yn eu tueddiadau eu hunain, a'u bwrw allan o gadwraeth Duw. Fel hyn yr oedd *tywyllwch (a) oes y cenhedloedd*; Y mae *S. Paul* yn eu cyfrif yn (*b*) *ddrygau ysprydol y nefolion leoedd*, neu yn perthyn i'r (*c*) *yspryđion drwg* yn yr awyr a eilw llyfrau'r *Iuddewon* yn nef, lle'mae'r ysprydion hynny yn *rheolwyr*. Ac am y *cenhedloedd* Ephes.
*hudoledig*, fe a ddywedir i'r *hen sarph yr hon yw* 6. 12.
*diafol a Satan eu twyllo hwynt.* Ac am y *gwrthgwymp* Dat. 20.
*mawr*, a hudoliaeth y *dyn pechod*, *S. Paul* 2, 3, 8.
a gyfrifai'r cyfryw o *weithrediad Satan.* A phan 2 Thes.
gyfodo rhyw *hereticiaid* gan lygru'r *gwirionedd*, 2. 9—11.
fe

(*a*) Αἰῶνος  (*b*) Ἐπουρανίοις.
(*c*) Πνευματικὰ τῆς πονηρίας: or as the *Syriack* Version reads it, πνεύματα.

fe a ddywedir mai'r *cythraul call drwg ewyllys* a fydd yn *cynnhyrfu* a *chreuloni*. Nid o achos dallineb dynion yn unig y mae hudoliaeth a thwyll yn y byd, ond o achos drwg ewyllys a dichellion ysprydion drwg a'u gweinidogion, y rhai sy'n dallu trueiniaid ac yn cam arwain y rhai a roddwyd gan Dduw yn eu dwylo hwynt. Gan hynny nid yw ryfeddod os gwelwn ddynion wedi eu gyrru i'r cyfryw radd o ynfydrwydd ac sydd wrthwynebol i'r ysgrythyrau, ac i reswm a synwyr cyffredin: er bod eu meddyliau cyfuwch yn hyn a phe derbyniasent *ysprydoliaeth trwy lais o'r nef*, ac a dybiant gael o honynt ddatguddiad mor ddiogel o ran eu *breuddwydion direswm* ac a gafodd yr *apostolion* a'r *efangylwyr* trwy'r *ysgrythyrau sanctaidd*. Canys er y gellir tybio hyn yn ormod ffolineb mewn dyn, etto nid yw ormod gan ewyllys drwg a dichellion *Satan*, yr hwn pan gaffo gennad i ammherchi ac ynfydu meddyliau dynion, nid rhyfedd yw fod eu tyb mor anresymmol, na'u tueddiadau mor ddi-synwyr.

*Gof*. Os un o gyfiawnderau Duw ydyw rhoddi y rhai a ammharchant foddion gras drosodd dan hudoliaeth *Satan*, ai ni ddylem ni fod yn ofalus mewn gostyngeiddrwydd a pharch i gadw ei ordinhadau, fel y gallom aros tan ei gadwraeth ef?

*At*. Felly y dylem ofalu nad elem, er dim, yn uwch nâ'i ordinhadau ef, megis i ddirmygu gweddiau a phregethau, i ddibrisio sacramentau, i enllibio'r ysgrythyrau, i ddiystyru a blaenori gweinidogion eglwysig, gan fod yn ddoethach nâ'n hathrawon, i ddymchwel llywodraeth ein bugeiliaid cyfreithlon, torri undeb yr eglwys, a'r cyffelyb. Oblegid yr ŷm wrth hynny yn torri'r terfynau a osododd Duw ei hun, ac yn bwrw ymaith ei drefniadau ef, y rhai ydynt i'n cadw ni oll mewn gwybodaeth siccr, ac ymarfer

dyladwy

dyladwy o'r gwirionedd. Ac os nyni fel hyn a'i gadawn ef, gan neidio yn ysgoewan allan o'r ffordd, mae i ni achos cyfiawn i ofni y bydd iddo ef ein gadael ninnau: ac yna nyni a fyddwn yn yspail barod i ddrwg ysprydion, y rhai, fel y caffont gennad, a'n dygant ymaith drwy hudoliaeth.

*Gof.* Gan hynny, yr ydych yn tybio fod llai o berygl hudoliaeth arnom tra'r ymgadwom mewn gostyngeiddrwydd, yn un â chymmundeb yr *eglwys*, na phed fai i ni ymadael â hi?

*At.* Oes, o herwydd wrth ymadael â hi, yr ydys yn fwy ansiccr, a than lawer mwy o beryglon. Megis carw a fai yn gorwedd o'r tu allan i'w *gaead, ac allan o olwg y gwiliedydd, sydd mewn mwy o berygl syrthio yn ysglyfaeth i'r helyddion. Neu megis dafad y tu allan i'r gorlan, wedi gwibio oddi wrth y praidd, a thu allan i'r defeidle, sydd mewn perygl o gael ei hysglyfio gan gŵn neu'r cyffelyb, ac o'i chymmeryd i fynu. Neu filwr y fai yn agos i gyffiniau gelyn, wedi colli allan o'i wersyll ei hunan, a fydd mewn perygl o gael ei gymmeryd neu ei ladd gan ei wrthblaid: Felly y bydd i ddynion y tu allan i'r eglwys, gan ysprydion drwg: Canys y mae ganddynt ryddid hyd y byd, er eu bod yn rhwym â chadwynau o fewn yr eglwys. Felly y mae'r ddafad a neidia allan o'r gorlan, mewn llawer mwy o berygl nâ'r rhai a drigo i fewn.

* Parc.

*Gof.* Yn ddiau yr hyn sydd yn eu dal hwy draw oddi wrthym, yw amddiffynfa Duw, yr hwn a elwir y *caead:* hwn oedd yn cau *Satan* allan *oddi wrth Job.* A chan nad oes gan bawb mo'r un rhan â'u gilydd o amddiffynfa'r Goruchaf a'i angylion gwiliadwrus, mae yn hawdd gwybod fod gan ysprydion drwg fwy gallu mewn rhai mannau, ac ar rai dynion nâ'u gilydd? Job 1.10.

*Atr.* Oes: yr hyn y mae 'r (*a*) *demon* yn ei roddi trosto ei hun, pan *roddwyd yn ei erbyn* (gan rai yn nyddiau *gwyrthiau* a ddaethent i'w fwrw ef allan) *feddiannu gwraig o Gristianoges*, ac yntef oedd yn dadlu *fod ei hawl ef yn gyfiawn, gan ddarfod iddo ei dal hi ar ei lywodraeth ei hun*, sef yn y chwareyddfa waedlyd annuwiol honno a elwir (*b*) *chwareudy'r Cenhedloedd*. Y mae'r gallu hwn gan ysprydion drwg yn fawr iawn yngwledydd anwybodaeth: Fel y mae ein *Hiachawdwr* yn galw *Satan* yn
Io.12.31. *dywysog y byd hwn*. A S. *Paul* a'i geilw yn *dduw'r*
Pen. 14. 30. *byd hwn*; ac efe hefyd a gyfrifai yr ysprydion drwg yn achos o dywyllfyd y *Cenhedloedd*, hynny
Pen 16. 11. oedd o ran eu bod *hwy yn rheoli, ac yn gweithredu*
2 Cor.4.4 *yn y* (*c*) *rhai anufudd*. Y gallu mwyaf fydd gan-
Eph.6.12 ddynt ar ddynion tra bont allan o *gyfammod ag*
Eph. 2.2. *eglwys Dduw* (megis y perygl yr oedd *Moses* ynddo nes iddo *enwaedu ar ei fab*. Yr *athrawon iuddewaidd* oeddynt yn dal sulw ar allu yr *angel dinystriol* ar y cyfryw na dderbyniasent y ddefod *enwaediad* o'r dechreuad, yr hyn fydd yn atteb i'w *hen draddodiad*, sef i *Dduw arbed eu cenedl hwy oddi wrth allu yr angel marwolaeth, i law pa un y rhoddasai efe hawb eraill o'r byd, pan ddewisodd efe hwynt yn bobl iddo ei hun, gan roddi'r gyfraith iddynt*) neu megis rhai wedi eu derbyn i'r eglwys unwaith a dorrent allant un ai o honynt eu hunain, neu drwy gyfiawn ysgymmundod: yr hyn, fel y dywed ein *Harglwydd*, fydd yn dychwelyd dynion yn eu hol at *gyflwr y Cenhedloedd*, neu a fwrir i'r byd eilwaith. Canys yna'r ysprydion drwg a gant fwy gafael arnynt, fel y dywed S. *Paul* am y rhai a gyfodant derfysg yn yr *eglwys*, ac a'u *gwrth-*
2 Tim. 2. 25, 26. *wynebant eu hunain*; fod *Satan wedi cymmeryd y cyfryw yn gaethweision*: Y mae efe hefyd yn galw
1 Cor.5.5. 1 Tim. 1. 20. ysgymmundod yn *draddodiad i Satan*, o herwydd eu

(*a*) Tertul de Spectac. *c*. 26. (*b*) Theatre.

(*c*) Υιοῖς της ἀπεις θείας.

eu bwrw hwynt i'w diriogaeth ef. Ac y mae yn debyg eu bod hwy yn fwy rheibus am y rhai a achubir dros amser nag am y rhai y maent yn eu cadw bob amser yn eu meddiant. Megis yn nammeg yr *ysbryd aflan* y dywedir i ni mai os bydd iddo gael ei *fwrw allan o ddyn*, ac iddo eilwaith gael y dyn yn wag ac yn ddi warcheidwad, neu mor gymmwys ysglyfaeth drachefn, *efe a gymmer atto saith ysbryd eraill gwaeth nag ef ei hun.* Mat. 12. 43—45. 2 Ped. 2. 20.

*Gof*. A oes dim arall a bair annog Duw i'n gadael a'n rhoddi drosodd i'r ysprydion hudolaidd hyn?

*At*. Oes, y mae prynu a gwerthu'r gwirionedd, neu wneuthur yn erbyn Duw a chydwybod dda er mwyn elw. Pan ymwrthodo dynion â'u Duw, neu ryw ffordd neu beth daionus, o ran bydol elw, gan ommedd purdeb a chyfiawnder: yna y bydd i'r *cythraul* nesau a'u cymmeryd mewn meddiant: Canys efe a egyr y ddor â'r agoriad arian, gan gynnyg elw am gael ei dderbyn i fewn. A dyna'r modd yr aeth efe i *Suddas*, gan gymmeryd meddiant ynddo er *deg ar hugain o arian*, yr hyn oeddynt fwy gwerthfawr ganddo ef nâ'i *feistr*; ac i *Ananias*, gan ei ddenu i'w fagl trwy *lenwi ei galon ef* â dymuniad i *ddarn-guddio peth o werth y tir*. Pan unwaith y rhoddo dynion eu hunain i law *Satan*, *drwy ymwrthod â chydwybod dda*, a chan feddiannu a gweithredu yn erbyn eu barn eu hunain, y maent hwy yn y ffordd i *wneuthur llong-ddrylliad o'r ffydd*, gan fod eu dealltwriaeth yn cael ei dwyllo. Mat. 26. 14. Luc 22. 3—5. Act 5. 2. 1 Tim. 1. 19.

*Gof*. Ai nid ydyw Duw yn eu gadael hwynt i'w trachwantau eu hunain, neu i *Satan*, i'w gyrru ym mlaen, pan y mae yn son am roddi i *ddynion ysbryd trym-gwsg?* ai nid yw hynny yn gospedigaeth ynddo ei hun? Rhuf. 11. 8, 10. Esay. 6. 10.

*At.* Mae yn debygol mai anfoniad ſyrthni meddwl, neu ſyndod a llyfrdra dealltwriaeth arnynt ydoedd hynny: nid y cyfryw ac a'u gwnai hwynt yn rhy fethianllyd i ddeall, eithr y cyfryw ag a'u troai hwynt yn ſwrth ac yn ddifraw, dwl a hwyrfrydig: ſef *llygaid â'r rhai ni welant, a chluſtiau â'r rhai ni chlywant:* megis pethau ni wnaent, oblegid nad eſmwyth oedd eu gwneuthur. Trwy'r cyfryw farweiddiad o ddealltwriaeth a ſynwyr y mae Duw weithiau yn bygwth pechaduriaid, gan ddywedyd, *Yr Arglwydd a'th dery di ag ynfydrwydd, ac â dallineb ac â ſyndod calon.* A hyn ſydd dra chyfiawn, gan waethygu perffeithrwydd eu meddyliau, yn gyſtal ac iechyd a nerth eu cyrph yn goſpedigaeth am eu pechodau. Canys pob un o'r rhai hynny, gan eu bod o'i roddion ef, ac yn annheilwng i ni, ſydd i'w cymmeryd yn ol megis y gwelo ef yn dda. Ac nid yw efe un amſer yn cymmeryd oddi wrth bechaduriaid anufudd, yr un o'r doniau hyn o ran digofaint, ond o herwydd eu (*a*) fforffetio hwynt a'i ddigio ef, gan gau eu llygaid cyhyd yn erbyn y gwir oleuni, ac o eiſiau canfod â llygad bywiog ac effro. Hyn oll ſydd gyfiawnder a barn, ac yn dangos fod Duw yn ſanċteiddiol, yn gyfiawn a daionus.

Rhuf. 11. 8.

Deut. 28. 28.

*Gof.* Os ydyw Duw mor anghymmodol â phechod, pa ham nad yw efe yn ei gadw ef allan? Ai ni byddai yn hawdd i'r Duw hollalluog beri na byddai bechod o fewn y byd, pei mynnai?

*At.* Nid cymmwys fyddai roddi ein dewis allan o'n cyrraedd. Canys ni bu i Dduw ein gwneuthur mor gaethion a chymmell ein meddyliau, eithr yn hyttrach efe a roddes i ni ryddid, a gwobr am ochelyd pechod, yr hyn yw'r cwbl a'r a ellir ei ddiſgwyl o'i ran ef.

Gof.

(*a*) Neu gam-arferu.

*Gof.* Ond i esmwythau arno ef a ninnau o ran drygioni pechod, aï nid allai Dduw wneuthur mai ammhosibl fyddai bechu, gan gymmeryd ein dewis oddi wrthym?

*At.* Y mae hynny yn anghyttun â nattur dynol: gan ein bod ni yn perchen cnawd ac yspryd, nid allwn lai nâ bod yn rhyddion i ddrwg yn gystal a da. O herwydd os amgen ni byddai ddim achos i'n canmol na'n gwobrwyo. Nid oes mor diolch i neb am ochelyd y cyfryw beth nad allo mo'i wneuthur. Ped fuasai pechu yn beth ammhosibl, fe a fuasai yn drais i ryddid naturiol, a phob cyfreithiau yn ddi-les; ac ni buasai gospedigaeth na gwobr am weithredoedd: yr hyn ni ddisgwylia rheswm gan wir sancteiddrwydd Duw, yr hwn nid ydyw yn edrych ar ei nerth a'i allu ei hun yn unig, ond hefyd ar ryddid a hawddfyd ei greaduriaid, ac a esyd y cyfryw fodd i gadw pechod allan ac a fyddo mwyaf cyttunol â hyn oll. Gan hynny ni fyn Duw na bo ryddid a gwobrwyon i'w greaduriaid, y rhai nid ynt i'w cymmell, eithr yn hyttrach i'w cynghori.

*Gof.* A wnaeth Duw yr hyn oll ac a ellid ei ddisgwyl yn y ffordd honno, i rwystro pechod?

*At.* Do: efe a roddes ei *Fab* i farw o farwolaeth echryslon, drwy yr hon y prynodd efe drugaredd i'r rhai oll a wir edifarhaent am eu pechodau; efe a ddangosodd bechod yn amlwg, ac a'i gwarafunodd i bawb, modd na byddai i neb fod yn anwybodus o honaw; ef a fygythiodd gospedigaeth anoddefadwy am dano, fel y byddai i bawb arswydo rhagddo; y mae ef yn cynnyg gwobrwyon di gyffelyb i bob dyn ag a'i trecho, ac yn addaw cynnorthwy anorchfygol trwy yspryd ei ras i nerthu pawb oll o'r rhai a ymdrechant fel y dylent yn ei erbyn. Ar fyr, gan drefnu (drwy farwolaeth ei *Fab*) y byddai drugaredd a

maddeuant i bob dyn, a gras i ddadwreiddio pechod: ni adawodd efe ddim yn ol ond eu tueddiadau eu hunain, tuag at berffeithio'r fuddugoliaeth honno. Ac efe a wnaeth hyn oll erddom, gan osod o'n blaenau yr hyn oedd, nid i gymmell yr ewyllys, ond i'w thyner dueddu i gymmeryd y gorchwyl hwn mewn llaw. A dyna'r cwbl a'r sydd i'w wneuthur â chreaduriaid rhyddion, y rhai nid ydynt ond i'w hynnill a'u tymmheru i ymochel rhag drwg. A chan hynny, os oes pechod yn y byd, nid ellir dywedyd am sancteiddrwydd Duw a'i ddaioni, na wnaethant hwy eu rhann yn gyflawn: Eithr am gyndynrwydd ewyllys dynion, nid ellir mo'u troi er dim ar a fyddo gymmwys i'w gynnyg iddynt. Oblegid hynny, gellir dywedyd am Dduw gyd â'r *ysgrythur*,
Eph. 5. 4. *Beth oedd i'w wneuthur ychwaneg i'm gwinllan,*
2 Ped. 3. 9. *nag a wneuthum ynddi?* Nid *ydyw yr Arglwydd yn ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i*
Ezec. 33. 11. *edifeirwch:* Fel *mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, nid ymhoffaf ym marwolaeth yr annuwiol,* ond yn hyttrach ewyllysiwn *droi o'r annuwiol oddiwrth ei ffordd a byw.*

*Gof.* Chwi a grybwyllasoch am *briodoliaeth* arall i Dduw, sef ei *ddaioni.* A dderbyn pob dyn ddaioni Duw fel eu gilydd?

*At.* Na dderbyniant: oblegid mai daioni doeth a sanctaidd yw, gan synnio wrth gynneddfau. Daioni Duw cyfiawn yw, nid daioni dyn caredigffol: ac y mae yn dueddol i bob tynerwch ac a fo yn cyttuno â bwriad doeth, a barn a llywodraeth sanctaidd. Eithr dangos trugaredd a hynawsedd tuag at ddrwg, ac i bwrpas drygionus, nid yw ddaioni, ond yn hyttrach ffolineb meddwl dyn.

*Gof.* Gan hynny nid ydyw daioni Duw yn addo'r fath dynerwch ac a adfeddalha wrth bob golwg truenus?

*At.*

*At.* Nag ydyw. Pan fo ei gariad a'i fwyneidd-dra wedi eu cam arferu ganddynt hwy, yna daioni Duw wedi ei gythruddo a ddyry le i farn wedi ennynnu; ac a ddichon edrych a'r ddynion yn merwino a dioddef, heb iddo ef gyftudd o'u herwydd.

*Gof.* Gan hynny nid ym ni i feddwl fod trugaredd Dduw mor feddalaidd bob amfer a chyffroi wrth yftyr creulonder, er bod yn angenrhaid?

*At.* Nag ydym: canys trugaredd ydyw i'r edifeiriol a'r goftyngedig, ond y cyfryw ac a fedr gyd ddwyn â chofp trofeddwyr anafus a chyfeiliornaidd, neu ddialeddu a'r ddrwg weithredwyr anedifeiriol.

*Gof.* Ai nid ellir ynnill daioni Duw wrth daer ymgais a dibaid ymbil pechaduriaid truenus?

*At.* Nag ellir: y Duw daionus efmwyth hwn a fedr fod yn ddigynnwrf wrth ymofyniad annheilwng ac anrefymmol. Ac os buont hwy yn fyddarion wrth ei alwad ef, yntef a fydd mor gyfiawn a daionus a'u gwobrwyo hwythau yn ol eu haeddiant: ïe pan wnel eithaf eu cyftudd iddynt waeddi a thaer ymbil arno. *Yna* medd efe, *pan ddel arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni megis destryw, ac y del eich dialedd arnoch megis corwynt* gan yfgubo'r cwbl o'i flaen, *minneu a chwarddaf yn eich dialedd chwi.* Dihar. 1. 26, 27.

*Gof.* Ond gan fod y daioni hwn yn gwneuthur y cyfryw ragoriaeth rhwng y naill a'r llall, a ydyw efe (megis y tybia rai) yn untuog yn ei ewyllys da, gan ei anfon i ryw rai yn bennodol, a chwedi fefydlu, yn gofod cymmaint ffafr ar y rhai hynny, hyd nad yw yn arbed craffu ar eu beiau?

*At.* Nag ydyw: ni arweinir daioni Duw megis caredigrwydd dyn o draferch ddall, eithr yn waftad mewn pwyll a threfn. Mae ei ddaioni ef yn ddiderfyn, ond etto yn cyftadlu doethineb

a chyfiawnder, yn gymmaint ag y gwna efe ddaioni i bawb (oni bydd y bai arnynt eu hunain) ac nid fyth i neb yn erbyn cyfiawnder a doethineb rhefwm.

*Gof.* Wrth hynny, y mae'n debyg nad oes gan Dduw mor cymmaint hoffder i ddynion o herwydd eu bod yn greaduriaid iddo ac fydd o herwydd eu rhinweddau: A bod ei gafineb ef yn fwy tuag at bechod nâ'i gariad at ddyn oblegid ei fod yn greadur iddo?

Sal. 5. 5. Dihar. 21. 27. Pen 28.9. *At.* Felly y mae, nid hoff ganddo ef un *weithred ddrwg* o ran cariad ar y *gwneuthurwr:* eithr y mae efe yn hyttrach yn cafau'r gweithredwr o ran ei ddrygwaith. Felly na thybied un rhyw ddyn ei fod ef mewn cymmaint ffafr gyd â Duw ac y bydd iddo ei efgufodi mewn un rhyw bechod: neu, o ran unwaith ofod ei ferch arno, yr edrych ar bechod ynddo, er iddo ei dderbyn ef i'w ffafr unwaith: Ac ni bydd iddo gafau y naill ddyn o herwydd pechod mewn un arall.

*Gof.* Pa beth arall yr ydym ni i'w ddeall wrth ddaioni Duw?

*At.* Ei wir hyfrydwch ef yn gwneuthur daioni: fef ei dueddgarwch i wobrwyo gweithredoedd da, a'i amynedd efmwyth wrth anwireddau pechaduriaid.

*Gof.* A ydyw efe yn yftyrio wrth ei weinidogion, gan wobrwyo eu holl weithredoedd da hwynt?

*At.* Ydyw, ac a fynnai i bob dyn gredu hynny, er mwyn annogaeth i'w wafanaethu ef: *oblegid* Heb. 11. 6. *rhaid i'r neb fydd yn dyfod at Dduw, gredu ei fod ef, a'i fod yn wobrwywr i'r rhai fy'n ei geifio ef.*

*Gof.* A ydyw efe hefyd yn amyneddgar a thrugarog wrth eu hanwireddau, yn gyftal a haelionus am eu gweithredoedd da?

*At.* Ydyw. Pan edifarhaont a throi oddi wrthynt. Canys y mae efe yn ei gyhoeddi ei hun

hun yn *bwyrfrydig i ddig, yn cadw trugaredd i filoedd, gan faddeu anwiredd a chamwedd, a phechod.* Ecs. 34. 6, 7.
Mae efe yn dangos amynedd rhyfeddol, gan gyd-ddwyn â phechodau dynion, a thrugarhau pan wir edifarhaont.

*Gof.* Ai nid ydyw'r cyfryw drugaredd mewn rhyw fodd yn annogaeth i'r rhai sy'n parhau i bechu?

*At.* Nag ydyw, o herwydd efe a drugarha yn unig wrth y rhai a edifarhaont; ei *hir amynedd* nid ydyw amgen nâ rhoddi amser i'w *harwain i edifeirwch*: Rhuf. 2. 4.
A'i faddeuant sydd yn unig pan edifarhaont. Canys y mae efe wrth gyhoeddi ei drugaredd yn cyhoeddi nad yw efe *yn cyfrif mor euwir yn gyfiawn*. Ecs. 34. 7.
Os parhawn yn anedifeiriol, nid gwiw disgwyl am drugaredd i faddeu, ond barn i gospi.

*Gof.* Chwi a ddywedwch fod Duw yn dangos ei ddaioni hwn yn haelionus am weithredoedd da. Ai nid ydyw efe hefyd yn dangos yr un peth wrth gymmhwyso pa weithredoedd sy'n deilwng i gael ei wobr ef?

*At.* Ydyw hyd lle y mae gyttunol â gwirionedd a rheswm. Nid yw ef yn ymofyngar, nac yn chwannog i feio, megis yn yspio mantais ar ein musgrelli: nac yn dost gan ddal allan i'r eithaf, ond yn barod i wneuthur tegwch drwy esgusodi'r pethau a font resymmol a dadleuadwy o'n tu: megis y mae i mi grybwyll ar ol hyn.

*Gof.* Pa beth a feddyliwn ni wrth *uniawn-farn* Duw?

*At.* Yn gyntaf, ei waith ef yn gosod cyfreithiau mewn gwastadrwydd; Yn ail, gan roddi barn gyfiawn wrthynt heb dderbyn wyneb.

*Gof.* A ydyw efe yn gyfiawn megis deddfwr, heb wneuthur amgen nâ chyfraith uniawn?

*At.* Ydyw. Duwiau'r *Cenhedloedd*, yn wir, fel 1 Cor.
y dywed *S. Paul*, oeddynt *gythreuliaid*, ac yn 10. 20.
gorch-

gorchymmyn i'w haddolwyr y pethau mwyaf pechadurus ac echryslonaf i'w gwneuthur. Hwy a wasanaethant *Bacchus* yngwledd yr eilynod, ac eraill *gau-dduwiau*, mewn gloddestau, meddwdod a difrawd aflan: ac felly y dywed *S. Pedr* am yr
1 Ped. 4. 3. *amser a aeth heibio o'r einioes i weithredu ewyllys y Cenhedloedd, gan rodio mewn trythyllwch, trachwantau, meddwdod, cyfeddach, diotta, a ffiaidd eilun*
Num. 25. 1, 2, 3. *addoliad*. Megis yr *Israeliaid yn ymgyfeillachu â Baal Peor, a gwneuthur godineb*. Hwy a wasanaethent (*a*) *Feloch* trwy greulondeb annaturiol, gan fwrw eu plant i'r tan a'u llosgi hwynt i'r
Lef. 18. 21. eilun: yr hyn a eilw'r *ysgrythur* yn *wneuthur i'w*
Jer. 19. 5. *plant fyned trwy'r tan i Feloch*, megis yn boeth offrwm. Eithr y gwir Dduw sydd yn uniawn wrthwyneb i'r cyfryw orchymmynion. Nid yw efe yn gofyn dim ond yr hyn sydd bur a rhinweddol, ac er eu daioni a'u lles eu hunain; y peth sydd anrhydeddus, a pherffaith gyttunol â'n nattur ein hunain: ie'r peth a weddai nid yn unig i ddynion eithr hefyd i angylion: canys Duw ei hun a ymddarostyngodd tan gyflwr dynol, pan yng *Nghrist* y daeth efe yn ddyn o'i Dduwdodawl hanfod.

*Gof.* Y mae hynny'n dangos goruchafiaeth ei gyfreithiau: Eithr pa beth a ddywedwch am eu huniawndeb hwynt? Ai nid ydynt yn dostion ac yn drymion, ac yn gofyn mwy, nag a allwn ni gywiro?

*At.* Nag ydynt. Canys, er ei fod ef yn gofyn pethau mawrion, etto, trwy'r cymmorth a'r gras y mae efe yn ei gynnyg, hwy a drefnir, nid yn unig yn hawdd, ond yn esmwyth hefyd, ei
1 Io. 5. 3. *orchymmynion ef nid ydynt drymion*: ei *iau sydd*
Mat. 11. 30. *esmwyth, a'i faich sydd ysgafn*.

*Gof.* A ydyw Duw yn gyfiawn gan ei fod yn *farnwr*; sef a ddyry ef farn uniawn heb na ffafr na derbyn wyneb?

(*a*) Sadwrn.

At.

*At.* Gwna, canys ynghyfiawnder ei farn *efe a dal i bawb yn ol ei weithredoedd: i'r rhai trwy barhau yn gwneuthur daioni, a geisiant ogoniant; bywyd tragywyddol: eithr i'r rhai sy'n ufuddhau i anghyfiawnder*, ac ydynt *bechaduriaid di edifeiriol, trallod ac ing*, a hynny *ar bob enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg*, yn ddi dderbyn wyneb. Rhuf.2.5, hyd 12.

*Gof.* Pa beth a ddaw gan hynny o'r rhai a dorrant ei gyfreithiau?

*At.* Oni bydd iddynt wneuthur eu heddwch gan edifarhau, hwy a gondemnir i farwolaeth dragywyddol, yr hon a fygythir yn ei gyfreithiau ef.

*Gof.* Ai nid ydyw Duw ar amserau yn cospi'r naill am bechod y llall, megis *plant* tros eu *rhieni*, neu *rieni* dros eu *plant*, er mai cyfiawn fyddai roddi i bob un ei eiddo ei hun?

*At.* Nag ydyw, o herwydd y mae efe yn siccrhau i ni, mai *cyfiawnder y cyfiawn fydd arno; a drygioni y drygionus fydd arno yntef.* Wele, *yr holl eneidiau, eiddo fi ydynt, fel enaid y tad, felly hefyd enaid y mab:* ni bydd i'r naill ddioddef tros y llall, *eithr yr enaid a becho hwnnw a fydd marw.* Ond yn wir, os cyfranna'r tad ym meiau'r plentyn, trwy osod siamplau drwg o'i flaen, neu gan fod yn feddal heb ei geryddu mewn amser: yna efe a ddioddefa megis y gwnaeth *Eli*, ond nid o ran ei blentyn, eithr o'i ran ei hun, o herwydd cyd-ddwyn ag ef. Ac os plentyn a ddilyn ffordd ei dad, efe a gyfranna o'i gospedigaeth, megis yn *Ezeciel*; eithr nid o herwydd pechu o'i dad, ond am iddo ef ei ddynwared. Felly nid rhaid i ni ddioddef y naill dros y llall oni bydd i ni fod yn rhannog o'r un euogrwydd â hwynt. *Canys pob un a ddwg ei faich ei hun.* Ezec 18. 4, 19, 20. 1 Sam. 2, 23, 24, 29. Pen.3.13. Ezec.18. 14. Gal.6.5.

*Gof.* Ond pa beth a ddywedwch pan fyddo i Dduw geryddu rhieni pechadurus trwy brinder neu wendid corphorol: ai nid ydyw hynny yn

dwyn

dwyn y clwyf neu'r angen ar yr hiliogaeth: Neu pan y mae yn fflangellu cenedl bechadurus â'r cleddyf, newyn, neu haint, ai nid yw hyn yn cospi'r di-euog yn gyffredinol gyd â'r euog?

*At.* Ydyw: ond nid ydyw hynny wedi ei luniaethu gan Dduw ar y di-euog o'i ran ei hun, ond fel y mae yn byw ac yn cydfod o fewn amser a chymmydogaeth yr euog, a chan hynny mewn cyd berthynas ag ef o ran bydol fantais. Eithr nid o'i ran ei hun yn bendant y daw hyn arno ef.

*Gof.* Ai nid ydyw Duw, o herwydd hen ddyled am bechodau, yn cael ei gyffroi ar amserau, i godi'r ddyled am bechodau rhai eraill mwy diweddar, y rhai, ond odid, a gawsent eu harbed y pryd hwnnw: ond o herwydd yr hen ddyled honno a gospir yn yr un modd â hwythau?

*At.* Ydyw. A hynny, mae'n debygol, yw'r achos i Dduw ddywedyd yn yr ail *gorchymmyn*, y bydd iddo *ymweled â phechodau'r tadau*, sef y rhai a'i casant ef, *ar y plant hyd y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth*. Canys nid ammhosibl i rieni fyw cyhyd ac i ganfod plant eu plant hwythau, ac wrth hynny y mae'r naill yn cael eu cospi wrth ganfod adfyd y lleill. Ond gan nad ydyw Duw yn yr achos hwn, yn codi ond yr uniawn ddyled trwy attal ei ffafr a'i amynedd, pan welo ei gyfiawn ddoethineb ef yn oreu, nid yw ei farn na'i briodoliaethau eraill ef yn hyn i'w goganu.

*Gof.* Myfi a welaf nad ydyw Duw yn cam osod ei gospedigaethau, gan gospi'r naill am bechod y llall. Ond er hynny, gellid meddwl ei fod ef yn cam bwyso'r dialedd wrth gospi pechodau bychain â dim llai nâ phoenau tragywyddol. A ydyw hynny yn cyttuno â rheolau barn?

*At.* Ydynt: pa gospedigaethau bynnag a drefnwyd gan ddeddfwr doeth, y rhai hynny a weddant i'w harferu gan farnwr cyfiawn. Ac

os bydd i ddynion gael eu cosbi wrthynt, arnynt hwy bydd y bai: canys pa ham y bu iddynt hwy haeddu 'r gosp a gyhoeddwyd am y cyfryw bechod cyn iddynt fod yn euog o hono? A'r cyhoeddiad hwn a wnaethpwyd er mwyn eu cadw hwynt rhag pechu, wrth wrando ar ba un, trwy gynnorthwy Duw, y gallasent gael eu harbed pe mynnasent. Felly, er dioddef, nid oes le i achwyn ond arnynt eu hunain, am iddynt o'u gwirfodd dynnu'r gosp yn eu pennau.

*Gof.* Ai teg oedd trefnu a chyhoeddi cospedigaethau mor drymion â hwynt?

*At.* Ie, o herwydd mai angenrhaid oedd; ac ni buasai dim llai yn dychrynu dynol-ryw, gan mor nerthol yw tueddiad nattur, ac mor aml yw profedigaethau; a meluster pleserau presennol sy 'n fwy cymmeradwy nâ'r addewid o wobrau i ddyfod; ac y mae ymdrech meddwl heblaw profedigaethau, yn gwneuthur i'r addewid i ddyfod gael ei thybied yn fwy gwael: Ac o'r tu arall, gan nad yw poenau tragywyddol amgen nâ phethau i ddyfod, nid ynt o gymmaint teimlad. Gan hynny, ni wnai gyhoeddiad o ysgafnach poenedigaethau ddiffoddi un wreichionen o wres ein hawyddfryd i bechu, fel y mae 'n siampl, ysywaeth, oddi wrth lawer o'r rhai sy 'n proffesu creduniaeth i drugaredd a barn.

*Gof.* Eithr ai ni ddylai fod cyhydedd rhwng pechod, a'r gosp am dano, o ran pechodau bychain a'r dioddefiadau diderfynol am danynt?

*At.* Nid ydyw pechodau a dioddefiadau bethau sylweddol, gan hynny nid ynt i'w cyhydu wrth fesur na phwysau, ond wrth ystyried y cyffroad yn gweithio ar ewyllys dynion, gan eu hannog i fyned trwy bob anhawster o honynt eu hunain, sef ar fod hynny yn ddigon dwys i fantoli profedigaethau ac anufudd-dod. Ac felly y mae poenau tragywyddol i'r troseddiadau, hynny yw, nid

nid ydynt amgen nag ſydd angenrhaid i beri i ni ymwrthod â phleſerau pechadurus: Ond yſywaeth ni thyccia ſon am farn ond ychydig i'r dynion ſy wedi eu llwyr feiſtroli gan ryw bechod neu gilydd cyn belled a'u bod yn dewis cymmeryd eu fiawns yn y byd neſaf er mwyn meddiannu eu dymuniad yn y byd preſennol!

*Gof.* Y mae hyn yn arwyddo nad oes un meſur cyfattebol rhwng pechod a'r goſp am dano. Eithr ai nid oes rhagoriaeth rhwng maintiolaeth euogrwydd, a phwyſau pechod ynddo ei hun, modd y gellir gwybod yr haeddiant dyladwy am y cyfryw bechod?

*At.* Oes y mae rhyw feſur, ond nid rhaid ei yſtyried mor fanwl. Y mae'r naill yn fwy nâ'r llall, yn ol yr ewyllys i bechu: Canys os bydd mor ewyllyſgar i bechu, y mae efe yn torri pob rhwyſtrau er mwyn cael ei waith i ben: canys y cyfryw rwyſtrau a allaſent ei attal ef i bechu, oni bai fod ei fryd mor nerthol. Gan hynny, y
Luc 12. 47, 48. mae un yn haeddu ei *guro â llawer o ffonnodiau*, ac un arall yn haeddu *ei guro ag ychydig ffonnodiau:* a hynny a wna gyflwr rhai yn *eſmwythach*
Mat. 11. 22, 24. nag'eraill. Hyn ſydd yn dangos fod pwys y goſpedigaeth yn atteb i fryd yr euogrwydd. Eithr yr holl ragoriaeth ſydd, fod coſpedigaeth yr hwn a becho o'i wirfodd yn drymmach nâ choſpedigaeth yr hwn a becho o'i anfodd.

*Gof.* Gan fod Duw yn gywir ac uniawn a gwaſtad yn ei holl ffyrdd, fe fyddai yn gabledd mewn neb a'i cyfrifai ef yn orthrymmwr meiſtrolaidd, gan wneuthur da neu ddrwg wrth ei bleſer ei hun, heb yſtyried cynneddfau ei greadur?

*At.* Felly y byddai. Yn y modd hynny'n wir y cyfrifai'r *Indiaid* fod y *cythreuliaid*, y rhai yr oeddynt yn eu haddoli. Ac felly y tybia bob dyn o gau grefydd fod Duw, gan feddwl y gallant ei gymmodi ef au gweniaith, neu grynfan

truanaidd

truanaidd a chaeth ymddarostyngiad, yr hyn sydd yn gyfattebol i'w tymmer eu hunain. Eithr y gwir Dduw sydd gyfiawn a rhesymmol yn ei holl ffyrdd, ac yn wastad yn ei farn; yn gofyn ei wasanaethu yn y pethau doethaf, ac o galonnau ewyllysgar, canys ei wobr ef a fydd bur a diragrith, a'i farn fydd gywir ac uniawn. Oblegid nid oes wendid na phoethineb nattur yn perthyn i'r barnwr doeth hwn.

*Gof*. Nid ydyw Duw ynte yn ei dymer farnedigaeth hon, yn debyg i ddyn o dymmer anghymmedrol, yr hwn nis bydd esmwyth nes y diffoddir ei ddigofaint â niwaid ei elynion?

*At*. Nag ydyw. Nid yw efe yn cospi er boddio digofaint a llid. *Pan yw yn cystuddio, nid o'i fodd y mae. Pa fodd y'th roddaf ymaith Ephraim?* Mae efe yn llawn tosturi pan fyddo bechadur ym mron anobeithio. Eithr er mwyn pwrpas a diben doeth y ceidw efe lywodraeth i gefnogi daioni ac i wanhychu drygioni. Barn Duw sydd ddoeth, ac nid ynfyd a digllon; a'i duedd i gospi sydd yn unig o'i ddoethineb, nid megis digllonedd dyn yr hwn sydd a'i dueddiad i fwrw ei falais ar y rhai a wnant i'w erbyn. Galar. 3. 33. Hos. 11. 8.

*Gof*. Heblaw'r uniondeb hwn yn dosparthu gwobrwyon i ddyfod, ai nid ydyw Duw yn ei ddangos ei hun yn gyfiawn wrth ei waith yn gwobrwyo haeddiadau presennol?

*At*. Ydyw. *Ganddo ef y mae'r gwybodaeth, a'i amcanion ef a gyflawnir*, fel y dywed *Hannah*, efe a wyr pa fodd i wobryo wrth farn a rheswm cyn perffeithio'r weithred. Ac y mae Duw yn gwneuthur ei ran yn bresennol wrth gyfrannu ei ragluniaeth. Yr hyn a ddylai wneuthur pob dyn yn ofalus mewn amcanion, heb nac anobeithio am fendith mewn ffordd dda, na bod mor ryfygus a'i gofyn mewn ffordd ddrwg. 1 Sam. 2. 3.

*Gof*.

*Gof.* A ydyw Duw yn *bresennol* ym mhob man gan ddal sulw ar weithrediadau dynion, dda a drwg, y rhai, yn ol hynny a gant wobr neu gospedigaeth?

Sal. 139. 7. *At.* Ydyw. Canys *i ba le y ffoaf o'th wydd? Ym mhob lle y mae llygaid yr Arglwydd. Onid ydwyfi yn llenwi y nefoedd a'r ddaear, medd yr Arglwydd?* Ac fel y mae'r ystyriaeth hon yn ein hannog ym mhob man i weddio arno ef (canys, er yn anweledig, y mae efe ym mhob cwrr yn bresennol i wrando ein gweddiau) felly y dylem ystyried ei fod ef ym mhob man i'n cadw rhag pechu. Gan hynny nyni a ddylem fod o hynny yn fwy gofalus bob amser ac ym mhob lle: Canys pwy a feiddiai wneuthur tro anfoesol yngwydd brenin, neu chwydawiaeth o flaen gwr synhwyrol, neu dro budraidd o flaen (ped fai ond) bachgen? nac yn siccr o flaen y cyfryw wr ac a fyddai i'n gwarchawd, neu i'n cospi o'r achos? Felly ym mhob lle a chwmpeini, nyni a ddylem ymddwyn yn weddaidd ac yn gymmedrol, mewn sobrwydd, pwyll a gofal, purdeb a pherffeithrwydd, gan gofio fod y Duw mawr sancteiddiol hwn yn sefyll i edrych arnom ac i ddal sulw ar ein holl weithredoedd.

Dihar. 15. 3. Jer. 23. 24.

*Gof.* Ai ni wna hyn fywiogrwydd a diwydrwydd mewn dynion a fai yn gwneuthur daioni, gan drefnu eu hymddygiad yn wasanaethgar iddo ef?

*At.* Gwna, yn oed ym mysg gweinidogion o olwg eu meistriaid: Ac heblaw hynny, y mae'r cyfryw yn annogaeth i weddio ac ymwneuthur at y goruchaf Dduw: gan mai anweddus yw sefyll ger ei fron ef yn fud ac yn ddifraw, heb ymadrodd addoliad a pharch.

*Gof.* A ddichon Duw ganfod ein calonnau a'n meddyliau?

*At.*

*At.* Y mae *efe yn yspys yn ein holl ffyrdd: efe a ddeall ein meddyliau o bell*, ac *nid oes air ar ein tafodau nas gwyr ef.* Sal. 139. 2, 3, 4.

*Gof.* Wrth hynny fe a wyr Duw oddi wrth bob peth a'r a wnelom yn y byd, ac ni bydd diffyg yn ei wobr ef, na phall yn ei gofpedigaeth?

*At.* Na fydd.

*Gof.* Pa beth meddwch am *ffyddlondeb* Duw?

*At.* Yn gyntaf ei ddidwyll gyflawniad yn ol ei adewidion. Yn ail ei waftadol waith yn cadw ei weinidogion.

*Gof.* Fe a wnaeth Duw addewidion grafufol i'w weinidogion, yn gyftal yn y byd hwn a'r nefaf. A fydd iddo ef gadw ei air yn hyn?

*At.* Bydd. Canys nid yw efe ddyn yr hwn fydd arferol â cham-gymmeryd ac i edifarhau o waith ei gamgymmeriad. *Nid dyn yw Duw i edifarhau: a lafarodd efe; ac oni chywira?* Num. 23. 19.

*Gof.* Eithr pan wnelo efe addewid neu wahoddiad cyhoedd i bechaduriaid, megis y bydd iddo yn fynych wneuthur: a gywira efe?

*At.* Na bo i ni dybio yn amgenach. Canys y mae ef yn hanfod gwirionedd di gymmyfg, mor bell oddi wrth wagfawrwydd ac ydyw oddi wrth anwiredd. Nid rhaid iddo ef un amfer daclu ei burdeb na'i ffyddlondeb drwy dwyll, gan nad all profedigaeth ei arwain. Gan hynny, pa beth bynnag a fo i ni ei gredu neu ddifgwyl oddiwrtho ef, a fydd yn wirionedd, ac a gyflawnir ganddo ef: Yn fwy enwedig tra byddom yn mwynhau (fel yn yr achofion hyn) nid yn unig ei air ond ei lw hefyd; yr hyn y mae'r *apoftol* yn eu galw yn *ddau beth angbyfnewidiol, yn y rhai yr oedd yn ammhofibl i Dduw fod yn gelwyddog*, neu wneuthur twyll mewn difgwyliad oddi ar ei law. Gan hynny pan alwo Duw ar ddynion i dderbyn ei drugaredd, gan eu hannog 1 Tim. 2. 4. 2 Ped. 3. 9. Ezec. 33. 11. Ezec. 33. 11.

i droi atto ef, na fydded i neb ammeu na bydd ei feddwl yr un modd a'i addewid, neu pan alwo arnynt i ddychwelyd, na bydd ei feddwl a'i ewyllys ef ar hynny. Ac na feddyliwn ei fod ef yn gofod dim math ar rwystrau ar ein ffordd, nac yn attal ei gymmorth rhagom, heb yr hwn nid oes bosibl i neb ddyfod atto ef. Hyn a'r cyffelyb sydd yn ammheuaeth halogedig ac annuwiol, gan anurddo ffyddlondeb y gwir Dduw. Ac ym mha le y mae rheswm y cyfryw ddynion a'u parch i'w creawdwr pan ammheuont na fydd ei feddwl ef yr un ffordd a'i air? y rhai a gymmerent yn angharedig ar heb am eu hammeu hwynt?

*Gof.* A ydyw ei allu ef i gyflawni ei air mor abl a'i ffyddlondeb yn addaw?

*At.* Ydyw, efe yw yr *hollalluog* yr hwn sydd
Sal. 135. 6. yn *gwneuthur yr hyn oll a fynno yn y nefoedd ac yn y ddaear, yn y mor, ac yn yr holl ddyfnderau.* Ond mewn perthynas i'r briodoliaeth hon, mi a'i cadwaf yn ol nes y delo ystyried arni yn ei lle ei hun yn y *Credo.*

*Gof.* Ond pan fyddo i Dduw addaw fe a fydd weithiau yn hir heb gyflawni?

*At.* Er ei fod ef yn oedi, nid yw efe un amser yn anghofio, nac yn newid ei feddwl: nid gormod trafferth na thalm o amseroedd, nac ail feddwl, a ddichon lygru dim o'i goffadwriaeth,
Sal. 111. 5. na newid ei amcanion ef: *efe a gofia ei gyfammod yn dragywydd; Efe yw y Duw ffyddlon yr hwn a*
Deut 7. 9. *geidw ei gyfammod hyd fil o genedlaethau: yr hwn*
Sal. 146. 6. *sydd yn cadw gwirionedd yn dragywydd.* A chan hynny nyni a allwn fod yn ddiogel am addewidion Duw, y rhai pan ddelont a dalant am eu
Gen. 15. 13. haros. Megis *Abraham* yr hwn ni dderbyniodd *blentyn yr addewid* nes ei fod ef yn hen iawn. Ai
Ecs. 12. 41. *had* ar ei ol ef, nid aethant i fewn i *wlad yr addewid*

*addewid* hyd ym mhen *pedwar cant o flynyddoedd* ar ol addewidion Duw.

*Gof.* Ond ar ol gobeithio am ei addewidion gwobrwyol a chan arfwydo ei gofpedigaethau, a bod yn *fanctaidd megis y mae yntef yn fanctaidd*, gan lwyr ymddiried ynddo: a oes dim perygl ei fod ef yn anwaftad, ac i ni golli ei ffafr ef ar ol y cwbl?

*At.* Un peth fydd yn ddiogel o'n tu, fef y bydd efe byw pa bryd bynnag y galwom arno: canys efe a fydd *o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb.* Ac *er newid y nefoedd a'r ddaear, efe yr un ydyw, a'i flynyddoedd ni phallant.*

*Gof.* Pan unwaith y rhoddo Dduw ei ferch arnom, a fydd iddo ef aros yn waftadol heb gyfnewid ei hoffder?

*At.* Bydd os arhofwn ninnau yn ei gariad ef, gan ei wafanaethu. Oblegid efe *yr un ydyw ddoe a heddyw, ac yn dragywydd: gyd â'r hwn nid oes gyfnewidiad, na chyfgod troedigaeth.* Heb 13. 8. Iag. 1. 17.

*Gof.* Ond os dychwelwn i fyw mewn pechod ar ol bod yn gyfeillion â Duw? pa fodd y digwydd i ni?

*At.* Yna, nyni a gollwn ei gariad ef. Canys nid yw parhaad ei ferch ef yn fefyll ar hoffi a chaffau dynion o'u herwydd eu hunain, ond o ran eu hymddygiad a'u cynneddfau. Canys *os yr annuwiol*, yr hwn fydd gas gan Dduw, *a ddychwel oddi wrth ei bechodau, efe gan fyw a fydd byw, ni bydd efe marw.* A *phan ddychwelo'r cyfiawn*, yr hwn fydd hoff gan Dduw, *oddi wrth ei gyfiawnder, a gwneuthur anwiredd: yn ei gamwedd yr hwn a wnaeth y bydd efe marw, ni chofir yr holl gyfiawnderau a wnaeth efe* o'r blaen. Ezec. 18. 21, 22, 24.

*Gof.* Priodoliaeth arall i Dduw yw ei *ddoethineb* ef. Pa beth a ddeallir wrth honno.

*At.* Ei hollawl wybodaeth, yr hwn a wel yn eglur trwy bob peth, gan wybod pa foddion a

pha amser sydd fwyaf cymmwys i wneuthur pob dim.

*Gof.* A'i rhan o ddoethineb Duw ydyw rhoddi yr uniawn werth ar bob peth, nid yn unig gan ymgyffred y gwirionedd, eithr gan roddi pris cymmhedrol ar eu gwerth hwynt hefyd, nid gan fawrhau pethau gwaelion, na dibrisio pethau pwysfawr.

*At.* Ie, rhoddi serch ar bethau di les sydd anghymmwys i'r doeth: canys teganau sydd fwy cymmwys i blant. Pethau gwaelion a allant foddio neu gythruddo gwr o ychydig yspryd: eithr y cwbl-ddoeth Dduw sydd hollawl yn ei amcanion ai wybodaeth, ni rydd efe fwy o bris nâ'r haeddiant ar ddim: megis y mae efe yn cassau pethau drwg, felly y mae yn diystyru pethau gwaelion: gan roddi yr uniawn werth ar y peth y bo'r ddadl am dano, fel y bo ei farn ef bob amser yn gyfiawn ac yn ddoeth. Gan hynny na thybied neb y bydd iddo fwynhau Duw na'i golli wrth y cyfryw bethau bychain, gwaelion a diystyr.

*Gof.* Nid ydyw matter bychan achos i wneuthur cyffro mawr o du 'n y byd. Megis nad yw ymgroesi ar ryw achosion, neu daenellu dwfr bendigaid, ymweled â rhyw ddelw, neu ymwisgo yn grefyddol, neu ryw ddefod anorchymmynedig, ddim applach i ynnill presennoldeb neu ymddiffyniad Duw i ni, nag ydyw golwg o hirbell ar wisg neu ymddygiad, i'w rhoddi ym mhellach oddi wrthym.

*At.* Gwir ydyw, canys y peth a wnelo 'r naill neu'r llall sydd i fod yn fatter o bwys: yn enwedig ei gyfreithiau ef ei hun, y rhai ydynt oll am fatterion pwysfawr, ac yn cynnwys y pethau a'i boddiant ef. Felly yr ydym i'w foddio ef a'i ynnill trwy ufudd-dod, ac i'w ddigio ef a'i golli trwy anufudd-dod. Gan hynny ni thal i neb

sylfaenu

ſylſaenu ar anorchymmynedig ddirweſt, neu doſtrwydd. Canys nid ŷm ni i ymorol am ffafr y goruchaf, nag i ffoi oddi wrth ei ddigofaint ef, trwy ein dyſais neillduol ein hunain, eithr bob amſer yn ol yr hyn a yſgrifennwyd yn ei gyfraith ef.

*Gof.* Os ydyw Duw yn canfod trwy bob peth, nid eill efe lai nâ deall ein nattur ni yn berffaith?

*At.* Na all; oblegid mai efe a wnaeth ein calonnau a'n holl ſynhwyrau.; gan hynny efe a ddirnad ein holl amcanion, a'n tymmerau, a pha beth a'u gyrr ym mlaen neu a'u ceidw yn ol mewn unrhyw ſwriad.

*Gof.* Os efe a ddichon wybod pa cyn belled y gweithreda pob peth o'n mewn ni, efe a eill wybod digwyddiad, a ffrwythau pob modd ac arfer, ſef pa gyn belled y bydd i bregethau ac annogaethau, ceryddon, hyfforddiadau, addewidion, bygythion, neu foddion eraill o ras, gael craff ar ddynol ryw yn gyffredin; a pha gym mhelled y gweithiant ar ddynion yn neillduol o bob medruſrwydd, awdurdodau a phrofedigaethau.

*At.* Efe a *wyddai na adawai Pharaoh i'r Iſraeliaid mor dyſod allan o'r Aipht, er maint ei blaau.* Ecs. 3. 19.
Ac *y byddai i benuriaid Iſrael wrando ar lais Moſes.* Ad. 18.
Ac *yr edifarhaſai Tyrus a Sidon ped ſuaſai iddynt* Mat. 11.
*weled gweithredoedd Criſt.* Rhaid i hyn ddwyn 21.
ynom ymddygiad parchus tu ag at ordinhadau Duw, fel na bo i neb ymorol (megis y gwna rai halogedig) pa ddaioni a wna mynych gyrchu i weddio, neu ddywedyd y gwnant hwy yn gyſtal wrth ddarllain a gweddio gartref, pan wahoddir hwynt i ddyfod i'r eglwys i wrando pregeth: neu eſgeuluſo a diyſtyru rhyw arferion eraill o'r rhai a appwyntiodd Duw. A chan fod gweddiau, ſacramentau, a phregethau, wedi eu hordeinio ynghyd ag awdurdodau blaenoriaid yſprydol ac

undeb eglwysig er mwyn cynnhaliaeth tragywyddol foddion ffydd a buchedd dduwiol: Gan fod hyn oll, meddaf, wedi eu hordeinio gan Dduw, Pwy ddyn a faidd gyhoeddi 'r hyn lleiaf o honynt yn wan, neu yn anghymmwys, gan ryfygu dywedyd ei fod ef yn deall eu perthynas yn amgen nâ 'r hwn sydd yn deall pob peth, neu roddi ei ffyrdd ef heibio, a gosod ffordd newydd i fyned i'r nefoedd?

*Gof.* A ydyw Duw hefyd yn deall yr amser goreu, a'r tymmhorau cymmhwysaf i bob achosion?

*At.* Ydyw, mor uniawn ac na bydd iddo un amser wneuthur gormod brys, nac aros yn rhy hwyr. A hyn a ddylai ddysgu i ni na wnelem ein hunain yn anesmwyth gan fod ei drugaredd yn oedi, neu gystudd yn dyfod arnom yn rhy fuan: er y meddyliai ddyn mai'r amser presennol yw'r goreu i dderbyn rhyw ddaioni, etto yn wir, amser Duw ei hun sydd gymmhwysaf. Fel pan ddanfonir rhyw beth yn rhy fuan neu yn rhy hwyr mewn perthynas i'n dymuniadau ni, etto maent yn dyfod yn yr adeg oreu ar ein lles.

*Gof.* Os ydyw y Duw mawr hwn yn cael y gair o fod yn sanctaidd, yn uniawn, yn gywir, ac yn amyneddgar, fel y dywedasoch, nid eill neb (gan ystyried) ddywedyd ei fod ef yn caru Duw, oni bydd iddo garu'r cynneddfau hyn?

*At.* Gwir ydyw, nid eill fod ganddo ond cariad tywyll, megis un yn hoffi nas gwyr pa beth, neu gariad camsyniadwy, megis un yn meddwl fod Duw yr hyn nad ydyw. Ond nid oes ganddo ef gariad gwybodol a rhesymmol iddo, oni bai iddo garu yr uchel-freintiau o'r rhai y mae'r Duwdod yn deilliaw. A phed fai ddynion yn iawn ystyried y pethau hyn, hwy a geisient feddiannu yr un peth ynddynt eu hunain hefyd.

*Gof.*

*Gof.* Os felly y mae, nid-all dynion annuwiol (y rhai ydynt elynion i'r cynneddfau hyn) garu Duw?

*At.* Nag allant: ond er hynny hwy a allant hoffi rhyw beth neillduol, megis doethineb Duw, yr hyn a bair iddynt ryfeddu, neu allu Duw (tra byddo yn gymmwynasgar iddynt) neu ddaioni Duw, os bydd er llesħaad iddynt. Ond ped ystyrient yn ddifrifol, nis gallant serchi mo'r Duwdod lle y mae'r priodoliaethau hyn yn gyfannedd. Canys yno y mae'r cyfryw sancteiddrwydd didwyll ac sydd wrthwynebol i'w pechodau hwynt; a barn ddi-ymbiliadwy i'w cospi: ffyddlondeb yr hwn a rydd fygythion ar waith yn gystal a'i addewidion trugarog; a nerth alluog i boeni troseddwyr yn gystal ac i wobrwyo y rhai a'i gwasanaethant ef yn gywir. A Duw o'r fath nattur sydd ddychrynadwy iddynt: Canys os iawn ystyriant ef, hwy a allant weled ynddo lawer o bethau yn eu herbyn hwy, yr hyn a rwystra iddynt ei gwbl garu ef, nac ewyllysio ei fod ef, yn wir! Ni ddichon fod mewn cariad rhywiog dealltwrus â Duw, ond y neb sydd (neu a ewyllysio fod) yn debyg iddo ef: Canys *cariad i Dduw* ydyw *ufudd-dod iddo.*

*Gof.* Os yr uchel freintiau hyn sy'n amgyffred y gwir Dduw, yna'r cyfryw ddyn ac a'i mwynhao ef drwy'r gras hwn unwaith yn wir, sydd megis Duw ei hun, sef yn gyfrannog o nattur Duw?

*At.* Felly y mae, canys sylwedd ei ddelw ef ynom yw *cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd.* Gan hynny pwy bynnag sydd yn gyfrannog o'r cynneddfau rhinweddol hyn, y mae efe yn wir ddaionus, ac yn gyffelyb i Dduw ei hun. Ephes. 4. 24.



# AM RAGLUNIAETH DUW.

## PENNOD II.
## RHAGLUNIAETH DUW

### Y CYNNHWYSIAD.

*Duw yn cynnal pob peth a'r a wnaeth. Yn rheoli yr hyn a wnaeth. Yn canfod ein holl weithredoedd; a'n holl brofedigaethau. Yn trefnu pob damweiniau da. Efe sydd yn trefnu ffrwythau'r ddaear. Ac yn trefnu plant. A llwyddiant mewn gorchwylion. Y modd y dylai hyn weithredu ynom ar bob achos, a ddangosir mewn amryw fannau. Duw sydd yn rhoddi dyrchafiaeth. Ac ewyllys da gwyr galluog. A bywyd ac iechyd i fwynhau pob bendithion. Efe sydd hefyd yn dosparthu pob damweiniau niweidiol. Megis marw cyfeillion. Digwyddiadau anffortunus i ni ein hunain, neu ein heiddo. Casineb ac aflwyddiant yn ein hamcanion a'n gorchwylion. Colledion ar law dynion drwg. Y modd y mae Duw yn cadw o fewn mesur, ac yn llywodraethu y rhai hyn. Dim esgus am drais ar gam, gan ddywedyd mai arfau Duw yw y rhai a'u gwnant, ac mai dilyn rhagluniaeth y maent. Efe hefyd sydd yn anfon tramgwyddiadau teyrnasawl a gwledig: ac yn rhagflaenu yn y cynnhyrfiadau mwyaf, ac mewn amseroedd cyfyngderus. Yn y rhai hyn bob amser, bydded genym ffydd mewn rhagluniaeth. Eithr na ddywedwn mai Duw sydd yn anfon y drygau y rhai a dynnom*

*dynnom ni arnom ein hunain o herwydd ein beiau a'n hynfydrwydd.*

## Y Bennod yn canlyn.

*Gofyn.* A Ydyw Duw yn ymddiffyn pob peth a'r a wnaeth?

*At.* Ydyw, cyſtal mewn hanfod ac mewn gallu a pherffeithrwydd: *Dyn ac anifail a geidw ef.* Sal. 36. 6. *Efe ſydd yn rhoddi i bawb fywyd ac anadl, a phob* Act. 17. *peth oll.* Oblegid *ynddo ef yr ydym ni yn byw, yn* 25, 28. *ſymmud ac yn bod.* Y mae ef (yn un peth) yn cadw ac yn cynnal ein gallu corphorol: megis nad oes neb yn colli na'i gof na'i ſynwyr, na math arall ar allu corphorol, ddim cynt nag y gwelo Duw yn dda. A hyn a ddylai ddyſgu i bob dyn, pan deimlo ei golled am ei ſynhwyrau, neu ryw berffeithrwydd arall, na bo iddo ymrwyſtro a chyſtuddio ei galon, gan ofni 'r gwaethaf. Canys Duw yr hwn a roddes y moddion hyn, ſydd fyth yn gynhaliwr iddynt. Ac y mae yn galed nad ellid eu hymddiried yn ei law ef. Gorchymmynwn ninnau hwynt yn gyſurus iddo ef, ac, un ai ef a'u hadfera hwynt yn ol i ni, neu a ddiwalla'r diffyg, ac a ddiwygia'r niweid a ddigwydd o herwydd eu colli, yn gyſtal a'u gwaſanaeth.

*Gof.* Ai ni ddylai hyn beri yr un peth mewn clefyd neu wrthwyneb arall?

*At.* Dylai. Canys efe yw amddiffynwr ein iechyd a'n nerth yn gyſtal a'n moddion eraill. Gan hynny, pan elo neb ryw un dan glefyd neu ryw boen corphorol, bydded iddo ymroi i ddwyn ei faich mewn amynedd: Eithr na wnaed mo'i faich yn drymmach o waith ei beryglu ei hun ag ychwaneg boenau, neu gyfyngder meddwl, megis un nas gwyr pa fodd y gwna os digwydd i ryw glefyd arall daro i mewn yn groes i'r llall,

gan

gan ei wneuthur yn fwy cyſtuddiedig; neu barhau o'r cleſyd yn hwy nâ'r amynedd. Canys os Duw a fydd ei amddiffynwr, y mae'r amſer yn ei law ef. Ac efe ſydd yn gorchymmyn y cwbl oll drwy doſturi cyfattebol i'n cyflwr a'n hangenion, gan ein cynnorthwyo ni â'i ras. Heblaw ei fod yn dro ynfyd cyſtal a gwan hyder i neb ddwyn arno ei hun beryglon cyn eu llunio, gan ofni'r gwaethaf, pan yr un amſer y gall rhagluniaeth Duw fod mor addfwyn i ni o ran daioni, a chynnal y gobaith hwn ſydd genym, gan ein gwared rhag profedigaethau.

*Gof.* A ydyw Duw yn llywodraethu ein holl weithredoedd?

*At.* Ydyw.

*Gof.* Ym mha beth yr ymddengys hynny?

*At.* Yn gyntaf, gan ddal ſulw ar bob peth a wnelom. Yn ail, gan reoli a doſparthu pob digwyddiadau.

*Gof.* A ydyw Duw yn dal ſulw ar ein holl weithredoedd?

Diar. 15. 3. *At.* Ydyw. Canys *ym mhob lle mae llygaid yr Arglwydd yn canfod y drygionus a'r daionus.* Hyn a ddylai ein cadw ni yn ddiniweid ym mhob peth, ac mewn cydwybod lan, gan ei fod ef yn ſefyll bob amſer i edrych pa fodd y gwnelom.

*Gof.* Rhaid yw credu fod Duw yn canfod pob peth, cyn y gallom obeithio cael ein gwobrwyo?

*At.* Felly y mae. Canys os na edrych Duw pa fodd y gwnelom yn y byd hwn, pa fodd y bydd iddo dalu yr uniawn gyflog yn y byd neſaf? Gan hynny, yr un peth (o ran crefydd) ydyw gwadu hanfod Duw a gwadu ei ragluniaeth.

*Gof.* Er bod Duw yn dal ſulw ar ein gweithredoedd, ai nid yw efe hefyd yn craffu ar ein holl brofedigaethau?

*At.* Ydyw. Efe, nid yn unig ſydd yn eu canfod, eithr hefyd yn canfod terfynau iddynt, ac

ac yn cymmhedroli cynnorthwy cyfattebol i'w cadw rhag myned yn drech nâ ni. *Eithr ffyddlon yw Duw yr hwn ni âd ein temtio uwchlaw yr hyn a allom, eithr a wna yngbyd â'r temtasiwn ddiangfa hefyd* rhag yr hyn a fo yn rhy doft, *fel y gallom ei ddwyn.* Gan hynny, pan syrthiom dan unrhyw brofedigaeth galed, neu adfyd, ni thycia i ni ymddiried yn ein nerth ein hunain, na gwan obeithio eu trechu trwy nerth Duw: ond ymgais ag ef trwy weddiau difrifol, a gwilio'r profedigaethau yn llwyr ofalus; a bod genym ffydd yn ei ragluniaeth ef, y bydd iddo un ai torri nerth ein hadfyd, ai cryfhau ein nerth ni tanynt. 1 Cor. 10. 13.

*Gof.* A ydyw Duw yn rheoli ac yn dosparthu pob digwyddiadau?

*At.* Ydyw, yn oed a ddigwyddo i'r creaduriaid gwaelaf. Canys *aderyn y to, ni syrth ar y ddaear heb eich Tad chwi:* Eithr yn fwy enwedig a ddigwyddo i ddynion, er mwyn pa rai y mae ei ofal ef yn cyrraedd pethau mor waelion a bod yn oed *gwallt ein pennau yn gyfrifedig ganddo ef.* Efe sydd yn anfon y da a'r drwg a ddigwyddo i ni yn y byd hwn, gym mhelled a'n bod ni yn ei dderbyn ef ar bob tro, ac nad allwn lai nag adnabod ei law ef yn yr hyn oll a ddigwyddo i ni. Mat. 10. 29. Adn. 30.

*Gof.* Ai Duw sydd yn trefnu i ni y da a'r drwg?

*At.* Ie, nid yn unig yr hyn a ddelo arnom yn ddamweiniol, eithr yr hyn oll a ddeuant hefyd trwy ein llafur a'n gofalon ein hunain. Canys ni thycia ein llafur ni heb lwyddiant ei fendith ef.

*Gof.* Pa beth a ddysg hynny i ni?

*At.* Bod yn ddiolchgar i Dduw am bob peth tra bom yn eu mwynhau; a disgwyl wrth ei ragluniaeth ef pan fom mewn angen am danynt, gan gofio mai Duw biau rhoddi pob peth a'r a fo

arnom

arnom eisiau, a'i fod ef yn ofalus am ein diwallu yn yr amser cymmhwysaf. Y ddisgwyliad hon ar Dduw a'i ragluniaeth oedd gan y *gwyr crefyddol* gynt, sef *Abraham*. *Isaac*, *Jacob* a *Joseph*, a phawb eraill *wyr sanctaidd*, yn wastadol, gan gyfaddef mai oddi wrth Dduw yr oedd yr holl ddaioni yn dyfod iddynt; ac wrtho ef yr ymddiriedent am eu cyfreidiau. A ffydd hyderus ynddo ef oedd
Heb.2.4. eu prif grefydd hwynt. *Y cyfiawn a fydd byw*, neu a ddiwellir, *drwy ei ffydd*, hynny yw, tan wiliadwriaeth Duw a'i addewidion.

*Gof.* Ai Duw sydd yn rhoddi i ni *ffrwythau'r ddaear*, a *thymmorau toraethog?*

Sal. 65. *At.* Ie, Efe *sydd yn ymweled â'r ddaear, ac yn*
9, 10, 11. *ei dyfrhau hi, gan ei mwydo hi â chafodau a bendithio ei chnwd hi. Coroni'r flwyddyn y mae â'i*
Sal. 104. *ddaioni, a'i lwybrau a ddiferant frasder.* Y *mae*
14, 15. *yn peri i'r gwellt dyfu i'r anifeiliaid, a llyssiau i wasanaeth dyn: fel y dycco fara allan o'r ddaear, a gwin yr hwn a lawenycha galon dyn, ac olew i beri i'w wyneb ddisgleirio, a bara, yr hwn a gynnal galon dyn.*

*Gof.* Pa beth a ddysg hyn i ni?

*At.* Cyn tyfu o ffrwyth y ddaear, fe a wna i ni lafurio, mewn gobaith y rhydd Duw ei fendith ar ein gwaith. Ie, ar amser caled i hau, hin anghysurus, neu brinder yn debyg i nessau, fe a gysura galon y llafurwr ac eraill, trwy hyder yn rhagluniaeth Duw, yr hwn a ddichon agor ei law ac adferu yr hyn a attaliasai, pan welo efe yn oreu, a chyfrannu ei gymmorth i atteb ein hang-
Sal. 145. enoctid. *Llygaid pob peth a ddisgwyliant wrtho,*
15, 16. *ac y mae efe yn rhoddi eu bwyd iddynt yn ei bryd, gan agoryd ei law, a diwallu pob peth byw â'i ewyllys da.*

*Gof.* A pha beth a ddysg hynny i ni ar ol eu derbyn?

*At.*

*At*. Rhoddi â chalon lawen ddiolchgar, nid yn unig yr hyn fydd ddyledus i'r offeiriad, ond ei gardawd i'r tlawd hefyd, yr hwn fydd yn fefyll am un i dderbyn dros Dduw, yn ol ei ran. Ac y mae hynny yn angenrhaid, yn un peth o ran diolchgarwch i Dduw yr hwn a'i hanfonodd, a thrachefn i ddwyn bendith Duw ar ein maefydd, yr hyn a amlha'r had yn y llawr, ac a ddwg ychwaneg i fewn i'r yfgubor. Hyn, medd *Solomon*, a ddaw oddi wrth roddi i'r tlawd. *Rhyw un a wafgar ei ddâ, ac fe a chwanegir iddo, yr enaid hael a frafheir, a'r hwn a ddyfrhao, a ddyfrheir yntau hefyd*; ac y mae i ni obaith i fedi yr unrhyw chwanegiad o dalu ei ran i'r offeiriad hefyd. *Anrhydedda yr Arglwydd â'th gyfoeth, ac â'r peth pennaf o'th holl ffrwyth: felly y llenwir dy yfguboriau â digonoldeb, a'th win-wryfoedd a dorrant gan win newydd*. Hynny yw, Duw a rydd i tithau gynhauaf ffynnadwy, a gwinwryf llawn. Diar. 11. 24, 25. Diar. 3. 9, 10.

*Gof*. Gan fod bendithion Duw yn cynnyddu cyfoethowgrwydd, y mae'n hawdd gwybod mai wrth fod yn gyflawn i'r offeiriad ac yn fyber i'r tlawd (y rhai fy bob un dan gadwraeth Duw) ein bod ni ar y fford i'w ynnill ef: a chan hynny nid allwn ni lai nâ llwyddo?

*At*. Nag allwn: yr hwn fydd yn meddwl mai rhagluniaeth fydd yn rhoddi cynnydd a gred hynny; a'r hwn a edrycho a gaiff weled nad y modd i wneuthur cyfoeth yn llai ydyw hyn, ond i'w chwanegu. Fe a ddywedai yr *arch offeiriad* wrth y *brenin Hezeciah*, mai dyma'r achos o chwanegiad y cynnydd i'r *Iuddewon*. Canys y *brenin* a orchymmynafai dalu degwm ac offrwm (yr hyn trwy dwyll a attaliafid) i'r *offeiriaid a'r lefiaid, fel yr ymgryfhaent yngbyfraith yr Arglwydd*: gan dalu ei hun yn gyntaf ei ddyled i'r eglwys. *A phan gyhoeddwyd y gair hwn, meibion Ifrael a ddygafant yn aml* i mewn yr holl ddegymmau 2 Cron. 31. Adn. 3 4.

ddegymmau a'r offrymmau, fel y digwyddent
Adn. 5,6. yn ddyledus, sef *blaenffrwyth yr ŷd, y gwin a'r olew a'r mel, ac o holl gnwd y maes, a degwm gwartheg a defaid, a degwm pethau cyssegredig a gyssegrasid i'r Arglwydd eu Duw, a degwm o bob peth a ddygasant hwy yn helaeth, ac a'i gosodasant bob yn bentwrr. A phan ddaeth Hezeciah a'r tywysogion a gweled y pentyrrau*, a deall wrthynt y cynnydd mawr a dderbyniasai'r bobl, yr hyn a drefnai'r cyfryw gynhaliaeth i'r *offeiriaid, efe a fen-*
Adn. 8,9. *dithiodd Dduw* am dano: *Ac a ymofynodd â'r offeir-*
Adn. 10. *iaid a'r lefiaid o herwydd y pentyrrau: Ac Azariah yr offeiriad pennaf a ddywedodd wrtho, er pan ddechreuwyd dwyn offrymmau i dŷ yr Arglwydd, bwyttasom a digonwyd ni, gweddillasom hefyd lawer iawn: canys yr Arglwydd a fendithiodd ei bobl, a'r gweddill yw'r amldra hyn.* Hynny yw, gan ddarfod iddynt dalu eu dyledion mor ewyllysgar i Dduw (yr hyn yn wir oeddynt o'i roddion ef) efe a amlhaodd eu cynnydd i'r cyfryw lawndra, hyd nad aeth ein rhan ni cymmaint ac nas gwyddom pa fodd i drefnu'r gweddill, eithr a adawsom yr holl bentyrrau hyn, fel y gweli, gwedi i ni a'n teuluoedd fwytta yn ddigonol.

*Gof.* Gan fod hyn yn dysgu i ni ddyledswydd a challineb, wrth roddi cardawd yn llawen i'r tlawd, a'i ran yn gyfiawn i'r offeiriad: ai nid ydyw hefyd yn dysgu i ni'r modd i fwynhau ac i roi allan y gweddill?

*At.* Ydyw yn wir, gan ddyfod o honaw oddi wrth Dduw, nyni a ddylem ei fwynhau gyd â chalon ddiolchgar a llawen, nid gan rwgnach neu anfodloni, megis yn pigo beiau yn hyttrach nag yn cyfaddef gwneuthur erddynt, gan fod yn anfoddog. Heblaw hynny, nyni a ddylem ofalu am roddi'r anrhydedd i Dduw, a gochel ei ddianrhydeddu ef drwy ein cam arferu ein hunain o'i dreulio ar fryntni neu wagedd. Eithr arferu

ei

ei roddion ef yn dymmherus ac yn sobr. Ac hefyd yn elusengar. Canys Duw sydd yn rhoddi 'r ffrwythau hyn i ni, nid i fod yn berchennogion arnynt, eithr yn *oruchwilwyr* i edrych am eu rhannu er mwyn diwallu angenrheidiau eraill, ar ol i ni ein diwallu ein hunain. Gan hynny nid sobrwydd a diolchgarwch yn unig, ond elusenni a syberwyd sy'n angenrhaid i sancteiddio ein meddiannau: *rhoddwch elusen o'r pethau sydd genych: ac wele, pob peth sydd lan i chwi.* Luc 11. 41.

*Gof.* Ai Duw sydd yn rhoddi plant i ni hefyd?

*At.* Ie, canys *plant ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd, ei wobr ef yw ffrwyth y groth.* Y mae efe yn trefnu plant lle y mae yn gweled yn oreu, megis rhieni yn trefnu eu meddiannau. A chan hynny megis y mae yn rhaid i ni fodloni tra bom hebddynt, oblegid mai Duw sydd yn eu hattal hwynt, felly y rhaid i ni ymddiried ynddo ef pan fo genym lawer o honynt; a chredu, gan ddywedyd o'n *Hiachawdwr* fod y *bywyd yn fwy na'r ymborth*, y bydd i'r hwn a roddo 'r genau, roddi 'r bwyd hefyd; a chan eu bod o'i rodd ef o'r dechreuad, y byddant tan ei ofal ef rhagllaw; ac y bydd iddo ef yr hwn sydd yn darparu i'r *gigfran*, o hynny yn hyttrach ddarparu iddynt hwy. Sal. 127. 3.

*Gof.* Ai yr unrhyw ragluniaeth nefol hon sydd yn peri ein llwyddiant mewn marchnadoedd, a'n rhwydd-deb mewn pob achosion?

*At.* Ie, *Y march a ddarperir erbyn dydd y frwydr, ond ymwared sydd oddiwrth yr Arglwydd. Calon dyn a ddychymmyg ei ffordd: ond yr Arglwydd a gyfarwydda ei gerddediad ef.* Hynny yw, fod Duw yn bwriadu 'r cyfryw ddigwyddiad ac a fydd, ysgatfydd, yn y gwrthwyneb i amcanion dyn. Dynion a allant fwriadu, a Duw a wyr pa le a bydd y diben: *nid eiddo dyn ei ffordd, nid ar law gwr a rodio y mae llywodraethu ei gerddediad.* Diar. 21. 31. Diar. 16. 9. Jer. 10. 23.

1 Ped. 4. 10.

*Gof.*

*Gof.* Ai ni ddysg hyn i ni orchymmyn pob achos a gorchwyl i gadwraeth Duw mewn gweddi, gan hyderu yn bennaf ar ei fendith ef?

Diar. 3. 6. *At.* Gwna. *Yn dy holl ffyrdd cydnebydd ef, ac*
Diar. 16. *efe a hyfforddа hy lwybrau. Treigla dy weithredoedd*
3. *ar yr Arglwydd, a'th feddyliau a safant:* sef a ddont i ben. Ac nid oes le i ammeu nad dyna'r achosion i ddynion fethu mor fynych, sef o herwydd ymddiried gormod yn eu cyfarwyddyd eu hunain, a dynol gynnorthwy, gan adael cyfarwyddyd rhagluniaeth heibio.

*Gof.* A raid i ddynion ymofyn â Duw am beth y bont yn gyfarwydd arno, a phan font siccraf o'r ffordd ddeheuaf?

*At.* Rhaid, canys heb ragluniaeth, nid all y
Preg. 9. moddion siccraf mor llwyddo: ac *nid yw y rhedfa*
11. *yn eiddo'r cyflym, na'r rhyfel yn eiddo'r cadarn, na'r ffafr yn eiddo'r cyfarwydd.* Gan hynny, pan fo ddyn ar y gychwynfa ddoethaf, neu'r parottoad siccraf, edryched i fynu at Dduw, heb gyn-
Diar. 3. northwy pa un ni ddaw i ben. *Gobeithia yn yr*
5, 6. *Arglwydd â'th holl galon, ac nac ymddiried i'th ddeall dy hun. Yn dy holl ffyrdd cydnebydd ef, ac efe a hyfforddа dy lwybrau.* Y mae llawer i'w ddywedyd yn wir, mewn amcanion gwyr doeth-
Diar. 20. ion, eithr *pob bwriad* (medd *Solomon*) *a siccrheir*
18. *drwy gyngor.* Ond pan fo amcanwyr doethion yn dangos hyder grefyddol, dyna y rhai tebyccaf i
Diar. 16. lwyddo. *A drino fatter doeth, a gaiff ddaioni:* ac
20. os *ymddiried ef yn yr Arglwydd* yn fwy nâ'i gyfarwyddyd ei hun, *O gwyn ei fyd hwnnw!*

*Gof.* Ond os ydyw'r ddamwain mor gwbl yn llaw Dduw, nis gallwn ni fod mewn siccrwydd o honi hyd na welom pa ffordd y mae Duw yn ei threfnu: Ac wrth hyn, nyni a ddylem beidio â bod yn rhy bendant, ond yn gymhedrol yn y disgwyliadau hyn, a dymuno dim ond ewyllys Duw?

*At.*

*At.* Felly y dylem. Canys *oddiwrth yr Arglwydd y mae cerddediad gwr: ond beth a ddeall dyn o'i ffordd ei hun?* Hynny yw, o ragwelediad y ddamwain honno: canys y mae Duw yn trefnu ei fynediad i derfynu, yn aml, mewn lle na feddylio efe am dano. Yr hyn beth, megis y'n ceidw ni rhag gormod ſiccrwydd o ynnill rhyw ddymuniad, a'n ceidw hefyd rhag anobeithio pan ymddangoſo i ni ryw beryglon: Canys, er bod o honynt yn ein hymyl, fe all Duw eu troi gant o ffyrdd, a gwneuthur iddynt fod yn lleſol i ni yn y pen diwaethaf.

*Gof.* Gan mai Duw ſydd yn trefnu pob gweithredoedd (drwy ymddiried ynddo ef) nid rhaid i ni berygl digio eraill, nac o waethygu ein mantais ddaearol ein hunain?

*At.* Na raid, ein rhan ni bob un yw gwneuthur ei ddyledſwydd, ac ymddiried yn Nuw am ddigwyddiad, canys ei eiddo ef yw hynny. Ac er na wel dyn mo ddiwedd ei ffordd ei hun, etto, mae Duw yn fynych yn ei dwyn i ben yn well nâ'r diſgwyliad. A hyn (yn yr amſer peryccla f) a ddylai wneuthur pob dyn yn fwy gofalus am berffeithio ei ddyleſwyddau nag am ochelyd y groes a fydd, yſgatfydd, yn eu dilyn hwynt. Canys pan fo iddo yſtyried yn ſynhwyrol, gan gyflawni yr hyn a ddylai, efe a eill hyderu ar ragluniaeth am ddiben da.

*Gof.* Ond gan nad allwn ni ddwyn dim amcanion i ben ond trwy Dduw a'i fendith, ai ni ddylai hyn beri i ni na cheiſiem fwynhau ein dymuniad drwy unrhyw fodd pechadurus?

*At.* Dylai yn wir: Canys y mae pechod yn digio Duw, gan ei gythruddo ef i attal ei fendith a dallu ein hamcanion. Os meddyliwn ni am gael llwyddiant (megis y dywed *Solomon*) *edryched ein* Diar. 4.
*llygaid ar yr uniawn,* ſef ar amcanion daionus: *ac* 25, 26.
*yſtyria lwybr dy draed,* medd efe, gan gymmeryd

L moddion

moddion cyfreithlon, *a threfner dy holl ffyrdd yn uniawn.*

*Gof.* Ai yr un peth a ddywedwch am drin marchnadoedd wrth bwysau a mesurau ffeilsion, neu eiddo twyllodrus, cam brisio, neu arferu twyll trwy ymadroddion anwireddus?

*At.* Ie. Canys ffieidd-dra ydyw hyn oll ger bron Duw, a'r cyfryw na ddichon haeddu bendith, ond yn hyttrach a ddichon ei hattal. Yr hyn a ddylai bob dyn ei deimlo, yn enwedig y neb sy'n credu mai oddi wrth Dduw y mae pob bendith a llwyddiant.

*Gof.* Os oddi ar law Dduw y mae i ni dderbyn pob llesshaad am ein llafur a'n hamcanion, mae yn rhaid i ni fodloni i dderbyn y cyfryw pan welo efe yn dda eu hanfon, gan goelio ynom ein hunain mai dyna yr amser goreu ar ein lles?

*At.* Felly y mae: Canys efe a edrych pa ryw gyfleustra sydd oreu; ac a drefna ddigwyddiad dda oddi amgylch i'r rhai a arhosant ei adeg ef gan ymddiried ynddo: megis y gwnaeth ef i *Joseph reoli ar ei frodyr*; ac i *Ddafydd feddiannu'r*
Esay 60. 22. *deyrnas. Myfi yr Arglwydd a bryfuraf hynny yn*
*ei amser.* [illegible] *a gyfyd, ac a drugarha wrth Sion,*
Sal. 102 13. *pan ddel yr amser i drugarhau wrthi, ie pan ddel yr amser nodedig.* A hyn a ddylai ddysgu i bob dyn a fai mewn gobaith am ddaioni, na byddai efe yn rhy brysur, gan gymmeryd y matter o law Dduw, ond aros drwy amynedd, nes y gwelo efe yn
Esay 28. 16. gymmwys gyflawni ei ddisgwyliad. *Ni frysia'r hwn a gredo.*

*Gof.* Pan fo rhagluniaeth yn hwy yn dyfod â'r ddymuniad i ben, a chyfleustra ar ein ffordd; ai nid allai ddyn droi ychydig o'r neilldu, gan achub y gyfleustra honno?

*At.* Nag eill: canys y mae ef wrth hynny yn cymmeryd y matter allan o law Dduw, lle y buasai iddo lwyddo. Ac wrth hynny y mae mewn

perygl

perygl o golli ffafr Dduw, a'r holl drugareddau disgwyledig oddi wrth yr amcanion hynny, trwy ba rai, ym mhen ei amser ei hun, yr ydoedd efe yn bwriadu ei amddiffyn. Pan roddes *pennaeth y carchardy yr holl garcharorion tan law Joseph*, mae'n debygol y gallasai efe ddiangc ymaith. Ond ped fuasai iddo, mor ddi amynedd achub hynny o gyfleustra, cyn dyfod o amser Duw, ni buasai iddo gael ei ddyrchafu, megis pan waredodd Duw ef. A'i dad ef *Jacob*, pan fu mor brysur a chipio'r *enedigaeth-fraint addawedig* trwy dwyll, a ddygodd arno ei hun enbydrwydd mawr a hir alltudaeth, yr hyn oll (mae yn debygol) a allasai ochelyd ped fuasai iddo aros nes i ddoethineb Duw ddwyn hyn i ben. Gen. 39. 22, 23. Gen. 27.

*Gof*. Os rhaid i Dduw fel hyn roddi rhwydddeb i bob moddion, ni ddaw yr un bwriad i ben, ped fai fyth mor ddoeth ei ddarpariad, neu mor gadarn ei gynhaliad, os bydd yn groes i'w ragluniaeth ef?

*At*. Na ddaw, canys *nid oes ddoethineb, na deall, na chyngor, yn erbyn yr Arglwydd*. Na'r cyfryw a hyrddir ym mlaen drwy nerth a thaerni. Canys er i'r *march fod yn barod erbyn y frwydr*, etto'r *ymwared sydd oddiwrth yr Arglwydd*. Gan hynny bydded i ddynion bob amser sefydlu eu calonnau a'u gobaith ar y cyfryw bethau ac y bont yn credu fod Duw yn gynnorthwy iddynt: ac yna yn ddiammeu, er iddo ef brofi eu ffydd a'u hamynedd, ac er eu bod mewn perygl tros dro, megis *Joseph yngharchar*, a *Dafydd i'w erlid*, ac *eglwys Dduw dan gwmmwl* yn y *datguddiad* (yr hon a erlidiwyd o *leoedd cyfanneddol* i drigo yn y *diffeithwch*). Etto efe a saif yn y diwedd gyd â'r rhai a ddewiso efe; ac a wna iddynt brifio yn rhy galed i'r erlidwyr mwyaf doethion, a galluoccaf. Diar. 21. 30. Sal. 66. 3, 7. Diar. 21. 31. Dat. 12.

*Gof.* Os nad ellir dim heb Dduw, nid eill ein gelynion ddim yn ein herbyn. Ai nid eill meddwl am hynny ein cysuro? Canys tra fyddo iddo ef ewyllysio yn dda i ni, nid eill dychymygion na gallu daearol wneuthur niweid i ni.

Sal. 31. 13, 15. *At.* Efe a wna i ni megis y gwnaeth i *Ddafydd*, yr hwn, *pan fwriadent ei ddieneidio*, a wnai hyn yn gysur iddo ei hun, mai, pa beth bynnag a fwriadent hwy, *fod ei amserau ef yn llaw Dduw.*
Esay 54. 17. *Dyma etifeddiaeth gweision yr Arglwydd: ni lwydda un offeryn a lunier i'w herbyn, a hwy a wnant yn euog bob tafod a gyfodo i'w herbyn mewn barn.* Ac felly nid oes un ystryw na chreulonder a ddichon niweidio lle y cadwo Dduw.

*Gof.* Mae yn rhaid cyfaddef mai Duw sydd yn rhoddi llwyddiant ar bob gwaith ac amcan. Ai efe hefyd sydd yn rhoddi goruchafiaeth?

1 Cron. 29. 12. *At.* Ie. *Cyfoeth hefyd ac anrhydedd a ddeuant oddiwrtho ef, yn ei law ef y mae nerth a chadernid; ac yn ei law ef hefyd y mae mawrhau a nerthu pob*
Sal. 75. 6, 7. *dim. Canys nid o'r dwyrain, nac o'r gorllewin, nac o'r dehau, y daw goruchafiaeth: ond Duw sydd yn barnu, efe a ostwng y naill, ac a gyfyd y llall.* Gan hynny, na cheisied neb ei ddyrchafu ei hun drwy anghyfiawnder, megis drwy weniaith a drwg fwriad, a dirgel niweidio'r naill y llall. Canys os nad yw dyrchafiaeth yn gwbl mewn ewyllys dyn pechadurus, eithr yn sefyll ar uwch-raglun-iaeth Duw, nid trwy dwyll na thrais y mae disgwyl llesshaad.

*Gof.* Pan fyddo dyn yn ymgyfoethogi, mi a welaf na thal ceisio dim trwy fodd pechadurus?

*At.* Na thal. Canys pan ddarffo am y cyfan, cyfiawnder yw'r modd siccraf i gynnal ein cyflwr
Diar. 10. 9. presennol, neu i'n gwellhau. *Y neb a rodio yn uniawn, a rodia yn ddiogel. Perffeithrwydd yr*
Diar. 11. 3, 5, 6. *uniawn a'u tywys hwynt:* ïe mewn peryglon *a'u gwared hwynt.* Ond os trwy ddichell ac annuw-

ioldeb

ioldeb, y dewis dynion wneuthur drwg i achub y tro, *trawsedd y* cyfryw *anffyddloniaid a'u difetha hwynt:* ac yn lle cael eu cadw a'u dyrchafu, *o achos eu drygioni, hwy a syrthiant, ac a ddellir yn eu drygioni eu hunain:* tra *cadwo cyfiawnder y perffaith yn ei ffordd*, trwy gyfiawn farn Duw, *annuwioldeb a ddymchwel y pechadur.* Diar. 13. 6.

*Gof.* Gan fod Duw yn rhoddi dyrchafiaeth, a'i nid ydyw yn ddigon i wneuthur dynion yn fodlon, (er bod mewn cyflwr is eu hunain,) tra bont yn gweled dyrchafiad i eraill?

*At.* Ydyw. Canys Duw a ddyrchafodd gyflwr isel y lleill, yr hwn a ddichôn yn hawdd eu dyrchafu hwythau, fel y bo mwyaf llesol iddynt hwy, a gogoneddus iddo ef ei hun; ac nid neb synhwyrol a ofyn amgen: ac nid dyled yn unig, eithr gwir leshaad pob dyn yw gadael i Dduw ddewis eu cyflwr iddynt; canys efe yn unig a wyr bob trwblaethau a phrofedigaethau, a'u haddasrwydd hwythau yn gofyn. Efe a ddeall eu cyflwr yn amgenach nâ hwynt eu hunain. Gan hynny efe a wyr pa beth sydd fwyaf cyfaddas i ni: Heblaw hyn, os gwna efe lai erom ni yn y byd hwn, efe a berffeithia bob anwastadrwydd yn y nesaf. Gan hynny, nyni a allwn ddisgwyl gwell ar ol hyn. *Lazarus*, er ei fod yn wr diniweid, *oedd yn dlawd a llawn o gornwydydd*, ac yn *y byd hwn a dderbyniodd adfyd.* Eithr ei anghenion cynnefinol *yn y byd hwn*, a wnaethpwyd i fynu yn helaeth drwy ei *wynfyd ym mynwes Abraham.* A phan fo dynion o'r un haeddiant heb dderbyn yr un wobr â'u gilydd o ragluniaeth yn y bywyd hwn, y mae iddynt amgenach ynghadw, a gwell i'w ddisgwyl ar ol. Luc 16. 20, 21, 22, 25.

*Gof.* Ai Duw sydd yn rhoddi'r holl ffafr yr ŷm ni yn ei gael oddi ar ddwylo gwyr galluogion?

*At.* Ie. *Yr Arglwydd a roddes ffafr i Joseph yngolwg pennaeth y carchardy: ac a roddes iddo hawddgarwch* Gen. 39. 21. Act. 7. 10

Ecs 3.21. *hawddgarwch a doethineb yngolwg Pharao: ac a*
Dan. 1.9. *roddes hawddgarwch i'r bobl yngolwg yr Aiphtiaid: a ffafr a thiriondeb i Ddaniel gyd â'r penystafellydd.* Daionus gyfarwyddyd rhai dynion rhagorol a
Preg. 9. 11. haeddai gael eu ffafrio: etto, *nid yw ffafr bob amser yn eiddo'r cyfarwydd*, ond yn unig pan wyro Duw galonnau dynion i'w roddi. Yr holl ffafr yr ydym ni yn ei dderbyn gan ddynion sydd eiddo Duw, yr hwn sydd yn ei drefnu i ni drwyddynt hwy.

*Gof.* Pan fo i ni fyned ger bron gwr mawr i ofyn ei ewyllys da, ai Duw sydd yn ein cynnorthwyo i erfyn y cyfryw mewn ymadroddion gostyngedig a rhesymmau gwastad?

*At.* Je, ac yn ei dueddu yntef i wrando, ac i
Diar. 16. 1. roddi attebion arafaidd a grasusol. *Parottoad y galon yn yr hwn* a fo yn deisyf, *ac ymadrodd y tafod* yn yr hwn a fo yn rhoddi, *oddiwrth yr Arglwydd y mae* pob un. Ac felly ym mhob erfyniad a disgwyliad oddi wrth ddynion, rhaid i ni yn gyntaf ymgais â Duw gan ymddiried ynddo. Canys os bydd ein hamcanion i'w foddio ef, nyni a gawn gynnorthwy ganddo i drefnu ein hymadroddion yn gymmeradwy.

*Gof.* A fyddant hwy yn ddiogel o wneuthur cymmwynas i ni, er iddynt yr un amser gael eu gofyn gan eraill, neu fod eu tueddiadau ryw ffordd arall, a chanddynt y cyfryw groes amcanion ac a fo gwrthwynebol i ni?

Diar. 19. 21. *At.* Byddant, canys *er bod bwriadau lawer yngbalon dyn, cyngor yr Arglwydd, hwnnw a saif* er hynny. Gan hynny, mewn amcan dduwiolaidd, na wan obeithied dyn yn y byd o ran anwastadrwydd meddyliau, neu o ran fod amgenach moddion gan eraill i haeddu ffafr, neu gynghorion rhai eraill i'w erbyn. Canys Duw a ddichon wneuthur cyfnewidiad, fel y mynno efe ei hun, yng nghalon y rhoddwr.

*Gof.*

*Gof.* Os na allwn ni fwynhau ffafr dynion ond trwy ragluniaeth Duw, ai ni ddylem ni gymmeryd gofal na byddem euog o neb ryw bechod er boddio dynion a'i anfoddhau ef, er ynnill neu gynnal ffafr neb?

*At.* Dylem. Canys os nyni a syrthiwn allan â'n Duw, efe a ddichon wneuthur yn oeraidd rhyngom a dynion. Ond os rhyngwn ei fodd ef, gan gynnal wrth weithredoedd da, efe, gan ei fod yn rheoli pob calonnau, a ddichon, un ai ein cynnal ni yn eu ffafr hwynt, neu roddi i ni amddiffynfa rhag eu digofaint. Ie, efe a ddichon (nid yn unig ein cynnal mewn ffafr â'n hen gyfeillion, y rhai nid allant lai nâ dirgel hoffi ein hymddygiad oneſt, er na bom yſgatfydd, ar yr un amſer, yn boddio mo'u dirgel amcanion, eithr hefyd) amlhau cyfeillion newyddion i ni. Canys *pan fyddo ffyrdd gwr yn rhyngu bodd i'r Arglwydd, efe a bair i'w elynion fod yn heddychol ag ef.* Gan hynny, nid buddiol i ddynion eſgeuluſo eu dyledſwyddau gan bechu i gadw bodd i wyr mawrion, neu gymmydogion creulon. Eithr bydded iddynt gynnal eu dyledſwyddau priawd, yr hwn a ſicchra iddynt ffafr Duw: ac yna rhagluniaeth a chwanega ffafr dynion yn y modd y gwelo efe fod yn fwyaf buddiol iddynt, neu wneuthur eu happuſrwydd yn gymhedrol hebddo, neu pa un bynnag, a wna'r diffyg am dano yn dda yn y byd ar ol. Diar. 16. 7.

*Gof.* Myfi a welaf mai rhagluniaeth Dduw ſydd yn rhoddi plant i wobrwyo ein gofalon, ac i gynnal ein coffadwriaeth; a llwyddiant i'n gorchwylion oneſt a'n cyfoeth, ac anrhydedd a ffafr: Ai nid yr un Duw ſydd hefyd yn rhoddi i ni fywyd ac iechyd i'w mwynhau hwynt?

*At.* Ie, *oblegid ynddo ef yr ydym ni yn byw, yn ſymmud, ac yn bod: Pan guddio ef ei wyneb, hwythau a ddrallodir, dwg ymaith eu hanadl a threngant,* Act. 17. 28. Sal. 104. 29.

*threngant, a dychwelant i'w llwch.* Am hynny, mae yn rhaid i ni roddi diolch iddo: a chan ein bod yn gweled mai arno ef yr ydym yn byw bob munud, nyni a ddylem ym mhob modd fyw iddo ef, gan ochelyd treulio ein hiechyd a'n gallu mewn bryntni a gwagedd. Canys pan fo'm yn eu cam arferu, yr ydym yn attal ei ddaioni ef, ac a fyddwn yfgatfydd dan glefyd neu farwolaeth y munud nefaf.

*Gof.* Os Duw ydyw rhoddwr ac adferwr yr iechyd, gan hynny, pan fo dynion mewn clefyd, ai nid ydyw gweddi wrefog yn llefol: A phan anfonir am phyfygwr, gan ddilyn ei gyngor, rhaid iddynt edrych tuag at Dduw yn gyftal ac arno yntef, gan hyderu y bydd iddo ef berffeithio eu gwellhaad trwy'r peth y mae'r phyfygwr yn ei orchymmyn iddynt?

*At.* Rhaid iddynt hyderu ar Dduw, yr hwn yw'r pen phyfygwr. Eithr na feddyliwn ninnau y bydd raid i Dduw weithredu dim heb foddion, oblegid nyni a fyddwn felly yn ei gymmell ef i wneuthur gwyrthiau. Ond er cyftal y gwnelir y meddyginiaethau, bydded iddynt hyderu ar Dduw am ei fendith iddynt. A gweddi gweinidog yr eglwys yn gyftal a chyfarwyddyd y phyfygwr, fydd fodd deheuwedd i iachau'r claf. Ac megis y cyfarwydda *S. Iago*'r fawl a fyddo yn glaf, a'r
Ia. 5. 14. *alw o hono ar henuriaid yr eglwys, a gweddiant hwy trosto.*

*Gof.* Bellach, mae yn amlwg mai rhagluniaeth Dduw fydd yn trefnu i ni bob daioni yn y byd hwn. Ac y mae yn debygol mai efe hefyd fydd yn trefnu i ni bob llefhaad yfprydol i fewn ac allan, mewn doniau rhinweddol a chrefyddol i'n cymhwyfo i fywyd amgenach?

*At.* Ie'n wir. A chan hynny (megis y mae yn rhaid i ni yn ddiolchgar fwynhau yr unrhyw, a gwneuthur yr arfer oreu ar a fedrom ni o'r

moddion cyfaddas hynny a roddes Duw i ni, fel pan font yfgatfydd yn waelach, gan eu bod o'i drefnhaad ef) y mae yn fuddiol i ni gadw ei ffordd ef, ac na wnelem neb ryw ddrwg, ac yn enwedig na thorrem drefn ac undeb yr eglwys wrth geifio gwell.

*Gof.* Gan mai Duw yw rhoddwr pob daioni, nyni a ddylem gyfrif pob digwyddiad da megis o'i anfoniad ef?

*At.* Felly y dylem pan f'om yn derbyn y cyfryw, ac hefyd yn fon am danynt. Nyni a ddylem fod yn ddiolchgar i Dduw am bob digwyddiad, er dyfod o hono yfgatfydd, megis ar ddamwain, neu oddi ar ddwylaw ein cymmydogion: a bod yn ddiolchgar tros eraill hefyd. Ac wrth ymddiddan am fendithion Duw, byddwn bob amfer yn ddiolchgar iddo, yr hyn fydd fwyaf gweddus a phereiddiaf ar dafod pob dyn duwiol.

*Gof.* Ond gan fod Duw o'i ragluniaeth yn trefnu i ni bob digwyddiad daionus, ai efe fydd hefyd yn trefnu damweiniau drwg?

*At.* Ie, pa un bynnag ai pethau a ddél arnom trwy ddamwain neu oddi wrth elynion i ni neu'r eglwys, ac yfgatfydd yr holl genedl. *Oni ddaw o enau'r Goruchaf ddrwg a da? a fydd niweid yn y ddinas heb i'r Arglwydd ei wneuthur?* Galar. 3. 38. Am. 3. 6.

*Gof.* Ai rhagluniaeth a bair i ni golli ein cyfeillion? ac a fydd i Dduw eu derbyn hwynt?

*At.* Bydd, er iddynt yfgatfydd gael eu cipio ymaith trwy ryw fiawns ddrwg neu i gilydd: yr hyn (er eu bod megis damwain i ni) ydynt ragweledig gyd â Duw. Yn ei law ef y mae bywyd ac angau; ac efe ei hun fydd yn galw am ein cyfeillion. Gan hynny bydded i ni eu cofio trwy amynedd a chan ymddiried y bydd iddo ef wneuthur ein colledion am danynt i fynu mewn rhyw ffordd arall. A chofiwn mai dodrefn Duw ydynt, ac mai efe oedd yn rhoddi iddynt eu tueddfryd i'n

cynnorthwyo

cynnorthwyo ni tra buant ar y ddaear. A Duw, yr hwn a'u rhoddes hwynt ac a'u cymmerodd drachefn, a ddichon ddiwallu ein colledion am danynt, gan roddi i ni rai eraill yn eu lle, neu gan ein dianghenu hebddynt. Nid rhaid i ni fod yn amddifad am gyfeillion, gan fod Duw trwy ragluniaeth yn gyfaill i bob un a fo yn ymddiried ynddo.

*Gof.* Er bod hynny yn beth bodlondeb, etto mae'r hiraeth yn fawr: canys hwy a gymmerwyd ymaith pan oeddynt anwylaf genym?

*At.* Ond rhaid i ni gofio mai doethineb Duw a'u cymmerai hwynt, yr hwn a wyr pa ryw amseroedd sy gymhwysaf i gyfeillion ymadael â'u gilydd.

*Gof.* Myfi a welaf mai pan gymmero Duw ein cyfeillion oddi wrthym, nad oes i ni ond bodloni ac ymddiried ynddo ef. Eithr ai nid ellid meddwl ei fod ef yn ddigllon wrthym pan gymmero efe ein hanwylyd oddi wrth ein hystlys?

*At.* Nag ydyw, eithr yn hyttrach, fe allai mai o ferch arnynt hwy y mae efe yn eu cymmeryd atto ei hun; ac ni ddylem ni feddwl ei fod ef yn ein casau ni oblegid iddo hoffi y rhai oeddynt hoff genym ni.

*Gof.* Ai oddi wrth ragluniaeth y mae bod i ni oddef damweiniau gwrthwynebus i'n cyrph neu ein meddiannau?

*At.* Ie. Y mae efe yn rhagweled ac yn darparu'r blinderoedd gan eu cyfarwyddo tuag attom. Os syrth y *coelbren, pan fwrir i'r arffed*, yn ein herbyn, *oddiwrth yr Arglwydd y mae ei holl lywodraethiad ef.* Os digwydd i ddyn gael ei archolli, neu gael ei ladd, nid oedd amgen nâ damwain (meddant) i'r hwn a wnaeth hynny, eithr Duw oedd yn bwriadu hynny i fod, drwy *roddi'r dyn yn ei law ef.* A hyn a ddysg i ddynion ym mhob rhyw ddamweiniau anlwccus na ddywedont

Diar. 16. 33.

Ecs. 21. 13.

wedont yn gyffrous yn erbyn achosion disymmwth: pa un bynnag ai o ran pethau di.fywyd y rhai nid allent, ai o ran dynion di fwriad y rhai nid oeddynt yn amcanu gwneuthur niweid iddynt. Ond yn hyttrach, hwy a ddylent edrych ar Dduw trwy amynedd a gostyngeiddrwydd, gan roddi diolch am bob ymwared. Canys Duw oedd yn bwriadu'r ddamwain ddrwg, eithr pwy a faidd ddwyn achwyn yn ei erbyn?

*Gof.* Y mae hynny yn ddigon o fodlondeb o ran damweiniau gwrthwynebus. Ond pa beth os bydd i'n gobaith gael ei ddylu, neu i'r clwyf waethygu, trwy ddiofalwch neu ddaeogrwydd meddwl, neu feiau eraill mewn amryfusedd, o waith cyfeillion gau, gweinidogion mewn ymddiried, neu'r cyffelyb? Nyni a fyddem yn fwy bodlonach i ddioddef llaw Dduw ei hun nâ'r rhai hynny, canys y mae yn blino dyn yn dost os yw yn gorfod dioddef o herwydd eu beiau hwynt, oddi wrth ba rai yr oeddem yn disgwyl amgenach pethau?

*At.* Er iddynt hwy wneuthur, etto rhagluniaeth Duw sydd yn trefnu yr holl flinderau hyn: Canys fel y mae gwr neu wraig ddaionus, felly hefyd y mae gweinidog synhwyrol gofalus, neu gyfaill ffyddlon, yn rhodd oddi wrth Dduw. A phan fo i ni gael ein cystuddio trwy law greulon, angharedig, neu o waith diofalwch rhyw un, nyni a ddylem gyfaddef cyfiawnder Duw yn hyn oll, gan wybod eu bod hwy yn gorfod cyfrannu o'r un gwrthwyneb ac yr oedd Duw yn ei amcanu i ni yn y bywyd hwn.

*Gof.* Ai rhagluniaeth sydd yn trefnu i ni rwystrau yn ein hamcanion a'n negesau bydol?

*At.* Ie, oddiwrtho ef y mae y rhwystrau hynny yn dyfod, er profi ein ffydd ni, pan fo iddo fodloni i'n gweithredoedd: neu i dorri ar ein rhediad lle yr anfodlono iddynt. A hyn a ddylai ddysgu

i ni.

i ni amynedd mor fynych ac y bo i ni gyfarfod â'r cyfryw.

*Gof.* Yn wir, y peth a fydd o weithrediad Duw nid oes mor lle i achwyn rhagddo. Ond a fedrwch chwi ddangos fod math ar wrthwyneb i gynnyddu gras a doethineb mewn dyn?

*At.* Medraf, a hynny i'r rhai y mae Duw yn eu hoffi. Canys os gwrthwynebir hwynt mewn pethau nid ynt ddaionus, hwy a gant weled fod hynny er lles iddynt: neu os yn unig i'w dal draw dros dro, efe a eill fod yn bwriadu rhyw adeg arall a fo mwy buddiol iddynt. Ie, nid hwyrach i'r rhwystrau hynny, o'r diwedd, roddi cynnorthwy i ddwyn amcanion da i ben. Os dynion a gymmerant amynedd nes y delo'r cwbl drosodd eu croes ddamweiniau a ymddangosant yn berffeithiach yn eu hamser, ar ol edrych y llinyn ar ei hyd, a gweled holl anneliad a thueddfryd amcanion Duw. Gan hynny, mae bai ar ddynion fod yn rhy barod i farnu o ran unrhyw groes ddigwyddiad, ond y modd goreu yw aros amser Duw drwy amynedd a gobaith, nes i ddiwedd yr amcan ddatguddio ei ddoethineb grasusol ef.

*Gof.* Ond beth os ynghanol ein gobaith y daw rhyw ddamwain groes i rwystro ein holl amcanion?

*At.* Os gwel Duw yn oreu wneuthur ein gobaith yn siccr, efe a ddichon beri yn oed i'r croesau hynny ddwyn ein dymuniadau yn llesol i ben. Canys ei ragorfraint ef ydyw dwyn goleuni allan
1 Cor. 1. 27. o dywyllwch, *Duw a etholodd ffol bethau y byd, fel y gwaradwyddai y doethion; a gwan bethau fel*
Rhuf. 8. 28. *y gwaradwyddai y pethau cedyrn: Ac ni a wyddom fod pob peth yn cyd-weithio er daioni.* Gan hynny buddiol yw i bob dyn ymddiried ei gyflwr i'r goruchaf Dduw.

*Gof.* Eithr y ddamwain ddrwg a ddigwyddo i ni ynghanol ein gobaith, yw'r waethaf o'r cwbl, a'r

a'r berycclaf am dynnu i lawr yr holl adeiladaeth o'r blaen.

*At.* Ond er hynny mae yn hawdd i Dduw berffeithio ei amcanion grasusol: nid ydyw lai nâ chwanegu ei ogoniant ef, o fod yn gwneuthur i'r ddamwain groesaf oll atteb i'r cyfryw amcanion ac a fo tuhwnt i bob disgwyliadau; a'i ddewis ef ydyw gweithredu drwy'r cyfryw anhawstra er eglurhau ei ddoethineb a'i awdurdod. Pa ryw adeg oedd waeth nâ'r un o ymadawiad *Paul* a *Barnabas?* y ddau weinidog pennaf ym mebyd yr eglwys? Eithr Duw a drodd hyn yn gynnorthwy i'r *efengyl*, gan eu gwahanu hwynt megis dwy ffrwd fawr i ddyfrhau ychwaneg o wledydd. *Paul yn myned trwy Syria a Cilicia*, a Act. 15.
*Barnabas i Cyprus.* Gan hynny na fyddwn drwblus 39—41.
dros fesur o herwydd unrhyw anffawd ddirgel na chyhoedd a ddigwyddo mewn cam adeg i groesi ein gobaith o ran unrhyw fantais neillduol, neu o ran yr eglwys. Canys pan fyddo i Dduw weithredu trosom, efe sydd yn goruwch-reoli'r drygau mwyaf a'r amseroedd croesaf, i atteb i'w bwrpas ei hun a'n llesIhaad ninnau.

*Gof.* Myfi a welaf mai yn llaw Dduw y mae clefydon, colled am gyfeillion, a thramgwyddiadau disymmwth: Eithr pan ddel blinderoedd o'r cyfryw oddiar ddwylo dynion drwg, ai Duw sydd yn anfon y rhai hynny?

*At.* Ie, canys *cleddyf Duw yw'r annuwiol.* Efe Sal. 17.
sydd yn arglwyddiaethu ar y dynion mwyaf 13.
aflonyddus annuwiol, y rhai a wnant y tro iddo ef ar ryw amserau. *Yr Arglwydd a wnaeth bob* Diar. 16.
*peth er ei fwyn ei hun, a'r annuwiol hefyd erbyn y* 4.
*dydd drwg:* hynny yw, i'w difa eu hunain yno lle y mynno efe anfon drwg: Ei arfau ef ydynt, trwy y rhai y mae efe, un ai yn cynnefino ein hamynedd ai yn ceryddu ein hanufudd-dod.

*Gof.*

*Gof*. Gan mai Duw sydd yn ein cystuddio ni â'r rhai hyn, ac nad ydynt hwy ond megis gwialen neu arf yn ei law ef: yna, pan fo eu tueddiadau hwynt i'n briwo, efe a ddichon eu gwahardd pan y mynno?

Gen. 20. *At*. Dichon, megis y gwaharddodd i *Abimelec*
3. 6. bechu, *trwy freuddwyd*; ac i *Pharaoh*, gan *anfon*
Gen. 12. *plaau mawrion arno ef*. Ei ragluniaeth ef a ddichon
17. eu hattal pan y mynno trwy un ai ymdrech
meddwl neu ddatguddio rhyw ddangosiad a baro
Diar. 21. iddynt newid eu hamcanion: *calonnau brenhinoedd*
1. medd *Salomon* (ar y rhai nid oes bennaduriaeth ymma)
*sydd yn llaw Dduw*, i'w goferu i bob rhyw lwybr a gyrfa, *megis afonydd o ddwfr yn llaw'r llafurwr*, tros y rhan a fynno efe o'i dir: o'r hyn y mae genym lawer o siamplau ysgrythyrol ac arferol.

*Gof*. Er bod o honynt mewn llawn fryd i wneuthur niweid i ni, etto tra bont tan ei lywodraeth ef, ni allant wneuthur dim drwg cyn yr amser?

Luc. 4. *At*. Nag allant: canys er bod yr *Iuddewon* yn
29, 30. ceisio *lladd yr Iesu*, etto, un ai *efe a ddirgel neillduai* pan fyddent yn barod i *roddi dwylaw arno*:
Jo 7. 32. neu galonnau'r *swyddogion* a lareiddient, fel y
44, 45 46. rhai a *anfonwyd i'w ddal ef*: neu ragluniaeth a'u
Mat. 21. tarawai hwynt â braw, modd y byddai i'r *bobl*
46. *a'i cymmerent ef yn brophwyd*, *beri iddynt ofni*:
Rhyw beth neu i gilydd a safai ar eu ffordd bob
Jo. 7. 30. amser, *o herwydd na ddaethai ei awr ef etto*. Ond pan nesaodd amser Duw ei hun, rhagluniaeth (yr hon oedd o'r blaen fel mur o bres o'i amgylch) a ollyngodd eu malais hwynt am ei ben ef, yna
Luc 22 hwy a gawsant eu hewyllys arno: *hon yw eich awr*
53 *chwi, a gallu'r tywyllwch*. Ac felly'r oedd yn
Job 1. 10, *achos Job*: tra y gwelodd Duw yn dda *gau o'i*
12, 13, 17. *amgylch ef*, nid oedd elyn a allai niweid iddo: a than ar ol i Dduw ddywedyd, *wele'r hyn oll*

*sydd*

*fydd eiddo ef yn dy law di*, nid allai *Satan* ei hun ddwyn mo'i arfau drwg, fef y *Sabæaid* a'r *Caldæaid* arno ef.

*Gof*. Eithr a allant hwy (pan ddel yr amfer) ein cyftuddio ym mhellach nâ'u cennad?

*At*. Nag allant. Canys yr *Iuddewon* (o ran chwanegu poenau *Crift*) a fwriadent *dorri ei efgeiriau ef* yn gyftal a'r lleill, *pan oedd ar y groes*: etto, o herwydd *ei farw ef mor fuan* nis gwnaethant, er cyflawni'r *yfgrythyrau*, fef, *ni thorrir afgwrn o honaw*. A phan ydoedd y *Corinthiaid* yn arfwydus ynddynt eu hunain rhag ofn profedigaethau, *S. Paul* a ddywed wrthynt, *nid ymaflodd ynoch demtafiwn uwchlaw yr hyn a alloch, eithr Duw a wna yngbyd â'r temtafiwn ddiangfa hefyd, fel y galloch ei ddwyn*. A gweinidogion Duw a gawfant weled hynny lawer gwaith, medd *S. Paul*, gan fod *ym mhob peth yn gyftuddiol, ond nid mewn ing, mewn cyfyng gyngor, ond nid yn ddiobaith, yn cael eu herlid, ond heb eu llwyr adael, yn cael eu bwrw i lawr eithr heb eu difetha*. Io. 19. 33, 36. 1 Cor. 10. 13. 2 Cor. 4. 8, 9.

*Gof*. Gan fod Duw yn terfynu'r mefur yn gyftal a phennodi'r adeg, a ydyw efe hefyd yn ordeinio hŷd a pharhaad ein dioddefiadau tan ddynion drwg?

*At*. Ydyw, ni adewir mo hynny dan eu malais. Canys pan welo Dduw ei bwrpas, efe a efmwytha arnom. *Yr Arglwydd a fedr wared y rhai duwiol rhag profedigaeth, a chadw y rhai anghyfiawn i ddydd y farn i'w poeni*. Ac wrth fefur y cyfryw barhaad, y mae yn ofalus a thyner tuag at ei weinidogion, na bo i'w gofidiau ddifa mo'u hamynedd, na diflannu mo'u gobaith ynddo ef. *Canys ni orphwys gwialen annuwioldeb*, gan aros yn rhy hir, *ar randir y rhai cyfiawn*, *rhag* iddi beri anobaith, ac *i'r rhai cyfiawn eftyn eu dwylaw at anwiredd*. 2 Ped. 2. 9. Sal. 125. 3.

*Gof*.

*Gof.* Os ydyw dynion drwg yn gyfryw arfau yn llaw Dduw, pa ddrygau bynnag a ddioddefom o'u herwydd hwynt, ni ddylem ni feio ar y rhai a'u gwnelont, ond cyfaddef rhagluniaeth y goruchaf Dduw.

*At.* Felly y dylem, a hynny a ddysg ini, nid yn unig ei foddio ac ymddiried wrtho am wellhaad, eithr i fod yn amyneddgar hefyd, oblegid er mor ddiachos y gallai niweid ddigwydd i ni oddi ar law arall, etto, nyni a haeddasom y cam
2Sam.16. cymmaint ar law Dduw: *felly melldithied*, medd
10,11. *Dafydd* am *Simei* greulon (ac ni fynnai niweid iddo yn ol) *o herwydd yr Arglwydd a barodd iddo.*
Sal. 39. *Aethum yn fud, ac nid agorais fy ngenau, canys ti*
9. *a'i gwnaethost.* Hyn a ddysg i ni ymddarostwng yn ewyllysgar: Canys bydded i'r cwppan fod cyn chwerwed a'r bustl, etto efe (ein Duw ni a'n Tad) sydd yn ei gynnyg, ac nis dylem ofni fod
Io. 18.11. niweid mewn dim a'r a ddel o'i law ef. *Y cwppan a roddes y Tad i mi, onid yfaf ef?* medd ein Hiachawdwr bendigedig am y creulondeb a ddioddefodd.

*Gof.* Eithr chwi a ddywedwch mai oddi wrth Dduw y mae i ddynion ein cystuddio ni. Ai ni bydd i'r rhai hyn gan hynny fod yn esgusodol o ddywedyd mai Duw sydd yn cennadu iddynt ymosod yn ein herbyn; ac mai dilyn rhagluniaeth y maent?

*At.* Na fydd: canys nid ydyw Duw yn gosod neb i wneuthur cam â ni, eithr pan font hwy yn drahaus o honynt eu hunain, y mae ei ragluniaeth ef yn ein bwrw ni ar eu ffordd hwynt, fel y bo i'w drwg ymddiyspyddu arnom ni, i gynnefino ein ffydd a'n hamynedd, neu i geryddu ein hanufudd-dod. Ond y maent hwy yn attebol am eu drygioni eu hunain: a phan font hwy yn llawn ddigon drwg nis gwna efe lai nâ'u goruwch

reoli

reoli hwynt at ei bwrpas ei hun: Megis y gwnaeth efe pan lofruddied ein Hiachawdwr, yr hyn oedd i fod er iachawdwriaeth y byd, er ei *groes-hoelio a'i ladd trwy ddwylaw anwir*. Pan fo i ni ddioddef trwy fod eraill yn pechu i'n ceryddu, y mae Duw a'u ceryddâ hwythau am hynny: megis y cyhoeddai efe am *Assur* fef *gwialen ei lid*; ac megis y caiff pob athrodwyr, gorthrymwyr, lladron, gwrthryfelwyr, weled ysywaeth! Nid gweithredoedd llwyddiannus ond perffeithrwydd dyledswyddau a'n cyfiawnha, pan ddel Duw i'n barnu. Act. 2. 23. Esay 10. 5, 12, 17.

*Gof.* Gan fod gorthrymwyr yn cael eu hanfon trwy ragluniaeth i fod yn noddfa cyfiawnder, yn gystal a cherydd am anufudd-dod; diau na fydd i Dduw oddef mo'u gorthrymiad yn wastadol?

*At.* Na fydd: pa croesaf fyth a fo ein gorthrymwyr, cyntaf yn y byd y derfydd am eu nerth, ac y diflannant eu hunain. *Y mae y drygionus*, medd *Solomon*, *yn myned heibio megis corwynt*, yr hwn a ddichon derfysgu a rhuo yn greulon dros amser, ond a dderfydd yn y man. *Gwialen ei ddigofaint ef a balla*: hynny yw, ni ddichon ei allu na'i awdurdod (drwy yr hyn yr oedd efe yn ffrangellu eraill) mo'i ddwyn ef allan na'i gynnal mewn traws-greulonder; eithr trwy wan arferiad, efe a gyll ei allu, gan gasglu iddo ef ei hun ei haeddedigol drwblaethau. Gan hynny, pan fyddo i neb gael ei orthrymmu gan gymmydog galluog neu ryw ddyn creulon arall, efe a eill ymgysuro gan gofio fod Duw yn canfod pob cammwri, ac y rhydd efe esmwythdra mewn amser cyfaddas. Dihar. 10. 25.

*Gof.* Mysi a welaf mai trwy ragluniaeth y drygir ni yn neillduol. Wrth hynny, os digwydd rhyw aflwyddiant i'r deyrnas yn gyffredinol, a raid i'r bobl gyfrif hynny hefyd oddi wrth ragluniaeth?

Dihar. 28. 2. 2 Sam. 24. 1. 1 Cron. 21. 1. *At.* Rhaid, ac yn fynych oblegid trofeddiad y *genedl. O herwydd camwedd gwlad, aml fydd ei phennaethiaid. A digllonedd yr Arglwydd a ennynodd yn erbyn Israel, ac efe a annogodd* (neu a adawodd i *Satan* hudo) *Dafydd yn eu herbyn hwynt i ddywedyd, dos, cyfrif Israel a Juda.* Ni ddylem ni mor achwyn yn erbyn fwyddogion breiniol o herwydd aflwyddiant yn y deyrnas, ond yn hyttrach, nyni a ddylem ystyried cyfiawnder y goruchaf a'n pechodau ein hunain, trwy amynedd a chalonnau edifeiriol.

*Gof.* A raid i ni gredu mai rhagluniaeth sy'n rheoli pan fo matterion cyhoeddus bendramwnwgl; ac mor afreolus na feddylid fod dim rhagluniaeth yn agos?

Sal. 99. 1. *At.* Rhaid. *Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu, cryned y bobloedd: eistedd y mae rhwng y cerubiaid, ymgynhyrfed y ddaear;* neu, er ymgynhyrfu o'r ddaear trwy greulonder a chythryfwl, ac er crynu o'r bobloedd trwy arswyd a chynnwrf. A hyn a ddylai gynnal pob Cristion mewn amser peryglus, oblegid ei fod ef y pryd hwnnw (er ei beryccled) tan gadwraeth Duw: ac nid rhaid iddo arswydo'r damweiniau drwg fydd yn ergydio o'i ddeutu, o herwydd eu bod hwy oll yn rhwym tan law Dduw.

*Gof.* Os Duw fydd yn anfon y rhai hyn oll, pan fo rai o honynt yn ein bygwth, llwyr y dylem ddyrchafu ein golygon atto ef, drwy ffydd yn ei ragluniaeth?

*At.* Ie; pe fai ein gobaith fyth cyn lleied. Canys y mae Duw yn dewis attal ein gwarediad yn fynych hyd yr eithaf, er profi ein ffydd yn ddwyfach: yna efe a ymddengys yn nesaf attom, pan, ysgatfydd, y bom ni bellaf oddiwrth obaith ynom ein hunain. Nid ymddangosodd efe
Gen. 22. 10. 11. i achub hoedl *Isaac*, nes i *Abraham estyn ei law*
Sal. 46. 1. i'w gymmeryd ymaith. Duw a ddaw yn *gymmorth*

*wrth bawdd ei gael* pan fo'm *mewn cyfyngder.* Efe sydd yn dewis ein cynnorthwyo pan fo mwyaf ein hadfyd, fel y bom yn fwy teimladwy o'n gwarediad: A'r pryd hwnnw hefyd y mae efe yn ein gwared trwy'r cyfryw foddion ac y tybygai ddyn eu bod yn anfuddiol ac yn wrthwynebol i nattur: modd y bo'r anrhydedd oll i Dduw. Heb. 4. 16.

*Gof.* Chwi a ddywedasoch mai Duw sydd yn ordeinio pob damweiniau drwg y rhai y mae croesineb neu ddynion blinion yn eu dwyn arnom. Eithr pa beth a ddywedwch am y rhai hynny sy'n dyfod arnom o'n hachos ein hunain, drwy ein ffolineb corphorol? A gyfrifir y rhai hynny oddi wrth ragluniaeth Duw?

*At.* Na wneir. Yn hyn y mae *Solomon* yn beio ar bechaduriaid anwesog: megis pan wyro *ffolineb dyn ei ffordd ef,* ac iddo dramgwyddo oblegid *anwybodaeth,* neu fod yn fyrbwyll a *phrysur ei draed:* etto er hyn, *ei galon a ymddigia yn erbyn yr Arglwydd:* megis pe na buasai i'w ffolineb ei hun ond i Dduw, ddwyn hynny arno ef. Y mae'r Duw sanctaidd yn gwahardd ein beiau i ni; a'i ddoethineb yn ymwrthod â'n ffolineb: a gochelwn ninnau eu rhoddi hwynt arno ef, eithr cymmerwn hwynt arnom ein hunain. Canys os dyn a'i teifl ei hunan i briodi yn fyrbwyll, neu wario ei eiddo mewn afradlondeb, neu fod mewn unrhyw fodd arall yn druenus o'i waith ei hun: yr hyn a ddigwydd o fyned yn erbyn ewyllys Duw, un ai yn erbyn ei waharddiadau, ai gan wneuthur pethau anghymmeradwy ganddo ef: yna pan ddel adfyd arnom o'n gwnaith ein hunain, na ddywedwn mai Duw a'i danfonodd. *Na ddywed* (medd *mab doeth Sirac* yn ei rybudd duwiol) *trwy waith yr Arglwydd yr aethum i ymaith, oblegid ni ddylit ti wneuthur yr hyn sydd gas ganddo ef. Na ddywed, efe a wnaeth i mi gyfeiliorni, canys nid rhaid iddo ef wrth wr pechadurus.* Diar. 19. 2, 3. Ecl. 15. 11, 12.

*Gof.* Mysi a welaf mai pan el dyn i'w briodi drwy ffolineb, neu wneuthur o hono ryw dro arall yn ei erbyn ei hun, na fynnwch iddo ddywedyd (fel y mae'r arfer) fod y peth wedi ei raglunio yn y nef, ac nad oedd ond a fynnai Dduw?

*At.* Na fynnwn er dim. Canys nid yw hynny lai nâ bwrw'r bai ar Dduw. Ai cymmwys yw, pan fo arnynt gywilydd am a wnaethant, feio ar Dduw i'w hesgusodi eu hunain? Nid ydyw Duw
Iag. 1. 13. yn erchi i neb wneuthur ffolineb na drwg; *Na ddyweded neb, gan Dduw y'm temtir: canys Duw nis gellir ei demtio â drygau, ac nid yw efe am demtio neb.*

*Gof.* A ydyw Duw yn pennodi y rhai hyn i ni mewn un modd?

*At.* Ydyw, y mae efe yn pennodi'r trueni megis cosp arnom o herwydd ein ffolineb, ond nid efe sydd yn trefnu'r ffolineb a'r ynfydrwydd a barodd ein trueni. Canys nid Duw sydd yn llunio pechodau nac ynfydrwydd dynion, oblegid ei fod ef ynddo ei hun yn sanctaidd ac yn ddoeth. Yr hyn sydd ddaionus ynom, rhoddwn iddo ef, eithr cymmerwn yr hyn sydd i'r gwrthwyneb arnom ein hunain.

*Gof.* Ai nid ydyw efe hefyd yn arferol o anfon beiau a ffolineb dynion yn gystal a'u trueni, yn gosp am annogaethau gynt? Canys pan fo dynion yn bechaduriaid mor greulonaidd a hynny, y mae Duw yn cael ei annog (fel y dywedasoch o'r blaen) i gymmeryd ymaith ei ras o ran cyfiawnder a barn, gan eu gadael hwynt iddynt eu hunain, wrth yr hyn y maent yn syrthio i fwy ynfydrwydd?

*At.* Ydyw: Y mae Duw, o ran cospedigaeth, yn eu rhoddi hwynt drosodd i bechod a ffolineb: nid gan eu temtio i fod yn ffolion ac yn ddrygionus, ond fel y maent ynddynt eu hunain yn dueddol i fod felly. Cyfiawnder a barn a'i hannogant ef i gymmeryd ymaith ei ras, yr hwn, a gam arferwyd ganddynt, ac onide yr yspryd nefol hwn

a fuasai

a fuasai iddynt yn ymwared rhag pob drwg, yn lle eu bod wedi eu gadael iddynt eu hunain, neu dan hudoliaeth yspydion drwg!

*Gof.* Gan hynny, os bydd neb yn cyfrif mai Duw sydd yn peri aflwyddiant iddynt, rhaid iddynt yr un amser gyfaddef mai cyfiawnder ydoedd, gan gymmeryd y gwaradwydd arnynt eu hunain, ac ystyried mai efe sydd yn eu rhoddi hwynt i fynu yn gosp am eu camweddau gynt?

*At.* Rhaid.

*Gof.* Chwi a grybwyllasoch am briodasau ffolion: yr ydwyfi yn gweled nad tynged a gorchymmyn anocheladwy gan Dduw, ydynt; ac na ddylem fwrw'r bai ar Dduw i'n glanhau ein hunain. Ai nid ydyw rhagluniaeth Duw (yr hwn sydd yn cyfrif yn oed gwallt ein pennau) yn perthyn i briodas, gan fod y cyfryw beth mor bwysfawr?

*At.* Nid oes le i ddywedyd yn erbyn: Canys *ty a chyfoeth ynt etifeddiaeth y tadau; ond rhodd yr Arglwydd yw gwraig bwyllog: Y neb sydd yn cael gwraig, sydd yn cael peth daionus: ac yn cael ffafr gan yr Arglwydd.* Ond pan fyddo i ragluniaeth Duw drefnu a pherffeithio priodas, nid ydyw megis tynged anocheladwy eithr gadawyd iddynt gyfleustra naturiol i ochelyd y cyfryw cyn myned yn rhy bell. Pan fyddo i Dduw eu hannog, nid yw yn cymmeryd y rhyddid hwnnw oddi wrthynt, trwy'r hyn y mae eu dewis iddynt ar eu dwylaw eu hunain: gan hynny maent yn attebol eu hunain am yr hyn a wnelont, gan haeddu clod pan wnelont yn gall, ac anglod pan wnelont yn ffol.

Diar. 19. 14

Diar. 18. 22.

*Gof.* Pa fodd bynnag y gwnelom ni yn hynny myfi a welaf fod Duw yn dal sulw. Ac am bob digwyddiad drwg neu dda, mae yn rhaid credu fod Duw yn canfod?

*At.* Credu hynny, yw *rhodio ger bron Duw,* megis y gorchymmynodd efe i *Abraham* wneuthur;

Gen. 17. 1.

thur: a chyfaddef rhagluniaeth yn sylfaen crefydd, a hen arwyddnod y gwyr bucheddol yn yr *ysgrythyrau*, ac sydd hefyd yn berffeithrwydd o'n serch a'n gwasanaeth i Dduw, ac yn siccrwydd o gyssur a heddwch ein meddyliau tan holl amrywiol ddamweiniau y bywyd hwn.

*Gof.* A ydyw'r Duw mawr daionus (yr hwn a'n gwnaeth, ac sydd yn ein cadw, ac mor ofalus am ddarparu i ni) yn dad cystal ag yn gyfaill i ni?

*At.* Ydyw: efe ydyw Tad ein Harglwydd *Iesu Grist*, ac er ei fwyn ef y mae'n *Dad i ninnau* hefyd. Ac felly y dysgodd efe i ni ei alw ef, gan weddio *Ein Tad yr hwn wyt yn y Nefoedd*, &c.

*Gof.* Pa beth a ddylai hyn ddysgu i ni?

*At.* Nid dyfod atto ef drwy hyder yn unig, eithr dyfod hefyd i dalu'r parch a'r ufudd-dod dyledus a weddai i'r cyfryw blant: *Os ydwyf fi dad, pa le y mae fy anrhydedd?* gan ddynwared ffyrdd a rhinweddau ein tad o'r nef, a throi yn
Mal. 1. 6. *ddilynwyr i Dduw fel plant anwyl.* Hyn sydd naturiol ffrwyth yr yspryd yn gystal a ffrwyth cynnedd-
Ephes. 5. 1. fau'r bywyd hwn, gan hynny nid eill lai nâ chynnyddu ynom feddyliau ac amcanion crefyddol, fel y bom deilwng i'n galw yn blant i Dduw. Nad awn gan hynny i'n dibrisio ein hunain trwy brisio yn ddiystyr o'n tad nefol, a rhoddi'r anrhydedd ddyledus iddo ef i ddim na neb arall; ac na roddwn serch ar wagedd a darfodedig bethau'r byd hwn o'i flaen ef. Ar fyr, ni wna lai nâ dysgu i ni hyderu arno ef bob amser, a derbyn yr hyn a ddanfono gyd â gostyngeiddrwydd a diolchgarwch, gan gwbl gredu fod yr hyn a dderbyniom yn dyfod o'i law ef, fel caredigrwydd tad i'w blant.

*Gof.* Ai'r Duw hwn a'r tad y mae'r *credo* yn ei alw yn *hollalluog* ac yn *greawdr nef a daear?*

*At.* Ie'n wir: eithr hynny a chwanegir, ac a wnair yn amlwg yn y bennod ganlynol.

HOLLALLUOWGRWYDD

# HOLLALLUOWGRWYDD DUW.

## PENNOD III.

## HOLLALLUOWGRWYDD DUW.

### Y CYNNHWYSIAD.

*Hollalluowgrwydd Duw, sydd yn cynnwys,* 1. *Gallu Duw a'i gadernid i ddwyn pob peth i ben, sef pob gwrthddrych gallu. A'r cyfryw allu nad yw yn erbyn ei wir nattur ef. Nid anhawdd i Dduw roddi'r gallu hwn ar waith. Efe a ddichon wneuthur pob peth a'r a fedro neb na dim a'r sydd yn y byd ei wneuthur. Hyn yn annogaeth i bob cychwynsa galonnog. A siccrwydd mewn rhaglunjaeth, yn enwedig lle y bo i ni addewid. Ardderchowgrwydd yr hyder hwn yn oed yn y cyflwr mwyaf anobeithiol o ran golwg. A pha duedd bynnag a fo gan bethau'r byd hwn, neu a font yn arferol o'i wneuthur, efe a ddichon eu hattal. Hyn hefyd yn sylfaen i ymddiried yn Nuw. Ac yn gynnorthwy mewn cyfyngder rhag osgoi o honom am ymwared anghyfreithlon. Y modd y mae Duw yn arferu'r gallu hwn.* 2. *Ei bennaduriaeth a'i awdurdod anfeidrol, i orchymmyn ac i drefnu pob peth. Hyn yn cynnwys ymerodraeth, megis rheolwr breiniol. Y pethau sydd yngallu Duw eu gwneuthur a'u gorchymmyn. Rhai gorchymmynion anghyfnewidiol. A hefyd yn cynnwys arglwyddiaeth, megis hollawl berchennog. Ym mha rhw achosion y mae Duw yn pennodi da a drwg*

*wrth hollawl awdurdod ei ragorfraint, nid yn ol rhag-ordinhadau dynol. Lle y mae efe yn cennadu wrth ei hollawl awdurdod ei hun y mae yn ei wneuthur bob amser wrth ei anfeidrol ddoethineb, ac wrth reolau rheswm. Gras achubol y mae efe yn ei ddosparthu, nid wrth ei hollawl awdurdod, eithr yn ol rheolau cyfammodol. Nef ac uffern wrth reolau cyfreithlon. Hanes hyr am uniawndeb naturiaeth Duw, yr hyn sydd yn rhwymo ei ewyllys breiniol ef yn yr ysgrythur. Y pen Arglwydd a'r hollawl berchennog hwn yn oll-ddigonol, felly nid Hanfod yn chwennych ei amcanion ei hun yn unig. Amryw ddibenion da oddiwrth hen-arglwyddiaeth Duw. Y dylai mawrhydi a hollalluowgrwydd Duw, heri ofn.*

## Y Bennod yn canlyn.

*Gofyn.* *HOllalluowgrwydd* Duw, meddwch, sydd un pwngc pennodol i'w broffesu yn y *credo?* A phan oedd Duw yn rhoddi hynodrwydd o hono ei hun, efe a ddywedodd wrth *Abraham* mai efe oedd *Duw hollalluog.* A ydyw'r enw hwn o'i eiddo ef o gymmaint cyfrif a bod i draethawd mor fyr a'r *credo*, ei grybwyll yn bendant? Gen. 17. 1.

*At.* Ydyw. Oblegid gan fod i Dduw alluowgrwydd ar bob peth, gan hynny mae yn rhaid i bob peth ofni ac ymddarostwng iddo. Gan fod ganddo hefyd allu i wneuthur pob peth, y mae achos i'r rhai a'i caront ac a'i gwasanaethont, ymddiried ynddo, a hyderu arno; ac mewn pob rhyw angenoctid ymofyn a chyfeirio atto ef am gynnorthwy. Canys y mae ei hollalluowgrwydd ef yn hen sylfaen i bob gweithred grefyddol, megis ofn, ffydd, ac ymddiried yn Nuw, a phob ymarfer duwioldeb.

*Gof.*

*Gof.* Pa beth a feddylir wrth hollalluowgrwydd Duw?

*At.* Dau beth. Yn gyntaf, fod iddo gadernid a nerth i berffeithio ac i weithredu. Ac yn ail, fod iddo awdurdod a gallu i orchymmyn ac i erchi pob peth.

*Gof.* A oes i Dduw allu a chadernid i berffeithio ac i weithredu pob peth?

*At.* Oes, ym mhob gwrthddrych gallu yn y byd, a phob peth ac sydd heb fod yn wrthwynebol i'w naturiaeth ef ei hun. Efe a wnaeth y byd hwn, ac a ddichon, pan y mynno, wneuthur ychwaneg. *Canys gyd â Duw ni bydd dim yn ammhossibl.* Luc 1. 37.

*Gof.* Pa ham y soniwch am bob gwrthddrych gallu?

*At.* O herwydd fod math ar wrthddrych diallu: Ac er fod yn rhaid i'r hollalluog law fod yn ddigonol am un rhan o honynt, yr hwn drwy ei air ei hun a ddichon pan ei mynno beri i bob peth ddyfod o ddim, neu fyned yn ddim: etto nid yw efe mewn un modd yn rhwym i berffeithio'r ddau beth hynny ar unwaith. Gan hynny nid llai fydd gallu Duw, er na ddichon dwywaith dau beidio a bod yn bedwar, neu na buasai erioed mor peth a basiodd, neu nad all yr un corph fod mewn amryw leoedd, pell ac agos ar unwaith: ac etto tan yr holl liosowgrwydd hyn i fod ond un sylwedd, canys fe a ellir gwrthddywedyd yn erbyn pob un o'r pyngciau hyn, sef er y bydd i'r cyfryw beth fod, etto fe a ellir dywedyd yr un amser na bydd iddo mor bod.

*Gof.* A pha ham yr ydych yn son am yr hyn nad ynt wrthwynebol i'w naturiaeth ef?

*At.* Oblegid fel y mae gallu Duw yn annherfynol, felly y mae ei briodoliaethau eraill: ac nid oes i'r naill na chaethiwo na gwanhychu mor llall, ond y mae'n rhaid iddynt oll fod yn cyd-

ymgyffred

yngyffred, megis er bod *Crist* yn dywedyd fod *pob peth yn bosibl gyd â Duw*, etto fe a ddywed *S. Paul* mai *ammhosibl i Dduw oedd bod yn gelwyddog*. Ni ddichon iddo ychwaith mor bod yn glaf, yn fwrth, neu yn flinderog, neu yn anghyfiawn, yn galon-galed, yn hoffi drwg, neu fod mewn anwybodaeth, neu golli ei ardderchowgrwydd, neu fethu bod yr hyn ydyw, neu wneuthur duwiau eraill heblaw ef ei hun, na bod yn ammherffaith mewn dim arall, mwy nag y dichon iddo fod yn wan, neu yn anallu. Priodoliaethau a pherffeithrwydd nattur Duw fydd anghyfnewidiol trwy'r duwiol allu: Ac nid yw fwy perthynol i allu Duw ei attal ei hun rhag bod yn bur, neu yn gyfiawn a daionus, nag ydyw i'r haul ei attal ei hun rhag rhoddi goleuni, neu dân rhag rhoddi gwres, neu ddim arall rhag gwneuthur yr hyn fydd gynnefinol ac angenrheidiol iddo. Pa beth bynnag a fynno ewyllys y Duwdod, ei allu ef a ddichon ei wneuthur: Canys ewyllys Duw, yr hwn fydd yn rheoli pob peth arall, nid yw yn gwrthwynebu ei nattur ef, ond y mae bob amser wedi ei gymmhwyso iddo, ac i'w reoli ganddo.

Mat. 19. 26.
Heb. 6. 18.

*Gof.* Pan fyddo i Dduw roddi ei allu ar waith i ddwyn rhyw orchwyl i ben, a ddichon iddo wneuthur hynny heb ddim poen?

*At.* Dichon. Y mae efe yn gwneuthur ac yn dad-wneuthur pob peth yn unig â *gair o'i enau*, megis y bu iddo ef yn y *creadigaeth*. Nyni ddynion ydym o nattur ammherffaith, a'n bywiogrwydd fydd yn difa ein gallu; a'r pethau y bom ni yn eu fymmud i wneuthur rhyw waith â hwynt ydynt anhawdd a chyndyn, gan lynu wrth eu nattur briodol eu hunain: ac o herwydd hynny y mae ein gwaith yn peri i ni boen a blinder. Eithr y mae pob peth yn ufuddhau i orchymmynedig fwriad y goruchaf gyd â phob gostyngeiddrwydd

eiddrwydd ac ufudd-dod: a'i allu ef sydd awdurdodawl ac annherfynol, fel nad rhaid iddo ef ond ewyllysio'r hyn a fynno, ac efe a fydd mewn moment. Gan hynny, ofer a gwag oedd tyb yr hen *epicureaid*, ac eraill elynion diweddarach i ragluniaeth, y rhai a fynnent arbed Duw rhag ei boeni ei hun yn llywodraethu'r byd, er mwyn gadael iddo ef esmwythdra.

*Gof.* A ddichon Duw wneuthur pa beth bynnag ar a allo neb na dim o fewn y byd ei wneuthur?

*At.* Dichon: canys efe a roddes iddynt hwy y gallu i wneuthur yr hyn a wnelont, gan gynnal fyth yr un allu ynddo ei hunan, a chyfrannu iddynt hwythau: Ac megis y mae ef yn gweithredu trwy eu dwylaw hwynt, felly y dichon wneuthur hebdynt pan y mynno. Yn y modd hyn y dichon ef gynnal bywioliaeth heb ymborth, megis y gwnaeth i *Foses* ac i *Elias*, a'n *Hiachawdwr Crist*, bob un yn eu *deugain nyddiau ympryd*. Efe a rydd iechyd hefyd heb gymmorth physygwyr; a phlant i'r rieni dros oedran, megis y gwnaeth i *Sarah*; a gwneuthur morwyn yn fam heb gynnorthwy tad, megis ynghenedliad ein *Harglwydd*; efe a rydd i ni gyrph heb waith rhieni, megis y gwnaeth i *Adda*, ac y gwna efe i bawb yn yr *adgyfodiad*.

*Gof.* Pa beth a ddysgir wrth hynny?

*At.* Nid credu ynddo ef yn unig wrth yr erthyglau crefydd hynny, fel y maent, yn wir, yn anhawdd i'w dirnad o ran eu nattur eu hunain: megis *geni Crist o forwyn*, a'r *adgyfodiad cyffredinol*: ond credu hefyd fod yn rhaid i ni gymmeryd calon a chefnogrwydd ym mhob gorchwyl cyfiawn crefyddol a phwyllog amcanion, nid digalonni yn rhy fuan, neu wan obeithio am rwydddeb o ran amled y rhwystrau. Pob amcanion rhinweddol ydynt gymmeradwy gyd â Duw, gan hynny

hynny yn fwy tebygol o fwynhau gwir gynnorthwy rhagluniaeth. A phan fyddo i Dduw gymmeryd rhyw achos arno ef ei hun, er na bydd yn y golwg ond gobaith wael am lwyddiant, etto ef a ddaw i ben yn ddiogel, oblegid fod gallu a ficcrwydd ei holl greaduriaid yn ei law ef.

*Gof*. Yn wir, y dynion fy'n cael eu cefnogi yn y modd hwnnw, nid allant lai nâ llwyddo yn eu hamcanion, er lleied a fo'r tebygoliaeth ar y dechreu?

*At*. Nag allant: Yr achos hwnnw a gefnogodd yr *apostolion* i fyned ym mlaen yn galonnog gan *droi'r byd*, yr hyn oedd ammhosibl ym mhob tebygoliaeth dynol; ac a gefnogodd hefyd yr holl *wyr rhagorol*, *cynnar a diweddar*, i osod i fynu *ddiwygiad gyhoeddus* mewn amseroedd blinion, gan wneuthur daioni i'r byd yn erbyn ei ewyllys. Ac fel y byddai i'r bobl fucheddol (y rhai yr oedd eu hamcanion yn dda ac yn anwyl gan Dduw) obeithio y safai efe ym mhlaid eu crefydd hwynt, gan adferu gobaith pan oedd ym mron diflannu. Ar fyr, mewn amser afreolus, efe a nerthodd ben-swyddogion i ficcrhau cyfreithiau a barn; a gweinidogion eglwysig i bregethu yn erbyn beiau cynnyddol a drygioni yr amser: a phob gwyr ysprydol i ddilyn duwioldeb a phob dynion daionus i gynnal y gorthrymmedig, i ffrwyno drygioni, ac i dorri drwg arferion, gan ddyrchafu anrhydedd Duw a dynion bucheddol yn eu hamryw alwedigaethau. Ni thyccia iddynt dybio mai methu a wnant, eithr boed iddynt obeithio y daw Duw â'u gorchwyl hwynt yn ei flaen: gan
Philip. 4. 13. gredu (fel y dywed *S. Paul*) y bydd iddynt *allu pob peth trwy Grist yr hwn sydd i'w nerthu hwynt*. Ac yna, rhaid iddynt roddi eu gobaith ar Dduw, nid hyderu arnynt eu hunain nac mewn math ar gymmorth oddi allan: A phan font yn myned i gyfwrdd â rhyw anhawsdra, bydded iddynt
fyned

fyned fel *Dafydd i gyfwrdd Goliah*, hynny yw *yn enw Arglwydd y lluoedd.* 1 Sam. 17. 45.

*Gof.* A ddysg yr ystyriaeth hon i ni fod gallu ei holl greaduriaid yn llaw Dduw?

*At.* Dysg i ni ymddiried mewn rhagluniaeth i'n diwallu mewn anghenion, yn siccr lle y rhoddes Duw ei addewid mewn gair. Yna y gellir ymddiried yn yr achosion mwyaf anobeithiol o ran golwg. Canys y pethau mwyaf anhygoel sy'n hawdd gyd â Duw: Felly nid oes dim anhawster yn y peth a addawodd Duw ei ddwyn i ben. Ymddiried mewn dyn, neu ryw greadur daearol, sydd yn gofyn tebygoliaeth o'r peth: eithr nis gofyn ymddiried mewn hollalluowgrwydd ragoriaeth rhwng cyffelybrwydd ac anghyffelybrwydd i ddyfod â'r peth i ben: Megis nas gofynodd ffydd *Abraham* pan gredodd efe i Dduw, yn addaw *anfon iddo fab* er bod *Sarah* ac *yntef* yn rhy hen i blanta: ac i'r *mab* hwnnw fod yn *aneirif o had*, yr hyn a gredodd efe yn yr un amser yr erchid iddo ladd ei fab, er iddo dybio na adewid iddo yr un mab yn ol yr addewid gynt, oni chyfodid hwn oddiwrth y meirw.

*Gof.* Hyn yn wir, sydd yn arwyddo hyder yn Nuw, ac ymddiried yn ei air, pan na bo ond ychydig arwydd am lwyddiant; ïe pe na bai ffordd yn y byd i ddwyn yr addewid i ben?

*At.* Felly y mae, a chan hynny, ym mhob gweithred gyhoeddus nid oes yr un a wna ddynion yn fwy anwyl i Dduw nâ hon. Hyn a welodd *ein tad Abraham*, o achos yr hyn yr æth ef mor hoff gan Dduw ac y bu iddo ei alw ef yn *gyfaill Duw*: Ac yn *dad y ffyddloniaid*: Ac y byddai i'w *fynwes* ef gael ei galw yn *noddfa y bendigedigion*. Canys ei *ffydd* (medd yr *apostol*) uwchlaw ei holl rinweddau eraill, a *gyfrifwyd iddo ef yn gyfiawnder*. Ac ym mysg ei holl weithredoedd ffyddlon, y rhai a gyfrifodd Duw iddo ef, mwyaf hynod Ia. 2. 23. Rhuf. 4. 11, 16. Luc 16. 22. Rhuf. 4. 3, 9.

hynod oedd y ddau bwngc caledion hyn: sef *er*
Rhuf. 4. *ei fod ef yr awron ynghylch can-mlwydd oed, nid am-*
19—22. *mheuodd efe addewid Duw drwy anghredusiaeth: Ac*
*yn gwbl sicer ganddo am yr hyn a addawsai efe, ei*
*fod yn abl i'w wneuthur hefyd. Ac am hynny y cy-*
*frifwyd iddo yn gyfiawnder.* Ac medd S. *Iago,*
Iag. 2. *pan offrymmodd efe Isaac ei fab ar yr allor,* yna y
21, 23. *cyflawnwyd yr Ysgrythur, yr hon sydd yn dywedyd,*
*credodd Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn*
*gyfiawnder, a chyfaill Duw y galwyd ef.* Y cyfryw
oruchafiaeth sydd o ymddiried yn Nuw mewn
cyflwr annhebygol o ddyfod i lwyddo.

*Gof.* Yr ydwyfi'n deall y dichon Duw wneu-
thur pa beth bynnag a'r a allo dim o fewn y byd
ei wneuthur. Ond a ddichon iddo ef rwystro
pob peth yn y byd rhag gwneuthur yr hyn a fo
gynnefinol ac arferol o'u gwneuthur?

*At.* Dichon. Canys o herwydd iddo ef eu
gwneuthur hwynt o'r dechreuad, felly, medd yr
Act. 17. *apostol,* ynddo ef y maent fyth yn *bod,* yn *symmud,*
28. ac yn *gweithredu.* Gan hynny, pa bryd bynnag
yr ewyllysio efe eu gorfod, neu attal eu gallu, nid
ynt mewn grymmustra i weithredu mwyach. Yn
Dan. 3. y modd hyn, nis gallai'r *tan sinio na deifio Sadrac,*
27. *Mesac ac Abednego:* na'r *llewod wneuthur niweid*
Dan. 6. *i Ddaniel:* na'r *bwyst-fil niweidio mo'r apostol:* na'r
22. *pla dinystriol niweid i'r Israeliaid:* na'r *baint echrys-*
Act.28.5. *lon flino mo Ddafydd:* na'r *Iuddewon* gyflawni mo'u
Ecs. 12. malais ar ein *Hiachawdwr Crist:* na *Satan demtio*
13, 23. *mo Job,* na phrofi ei *amynedd* ef: tra gwelodd
Sal. 91. Duw yn dda eu hattal. Y mae Duw yn attal pob
1,6,7,8. creaduriaid niweidiol (megis ysprydion a dynion
Io. 7. 30. drwg) modd na bo iddynt ruthro ar neb heb ei
Job 1. 12. gennad ef.
Pen. 2. 6.

*Gof.* Ond pa beth a ddysg hyn i ni?

*At.* Na phrysur farnom gyflwr dynion bucheddol,
megis rhai heb obaith gwellhaad nac esmwythdra.
Canys pan fo beryglon neu ddrychinebau oddi

wrth y dynion neu'r moddion mwyaf niweidiol yn bygwth greulonaf, nid oes ond Duw i dorri ar eu rhediad, un ai gan eu troi heibio, ai gan orfod eu gallu. Ac yna'r pethau mwyaf echryslon a chreulon, a fyddant yn ddofion ac o lai niweid, a'r perygl o'u herwydd yn nesaf peth i ddim. Ac yn y modd hyn y mae efe yn arferol o sefyll gyda â dynion daionus gan eu hachub hwynt, megis y gwnaeth efe i *Ddafydd* gan ei dynnu allan o safn marwolaeth; a'u cadw megis *Paul*, ar oll bod ganddo *farn marwolaeth arno ef ei hun*. 2Cor.1.9.

*Gof*. Eithr pa fodd y mae i ni obeithio pan fom ar y munud diweddaf, neu pan fo'r drwg ym mron ein goddiwes?

*At*. Os bydd genym addewid (trwy air Duw) am warediad, nid anghofia efe mo'i air, fel y dywedais, er iddo oedi hyd yr eithaf: neu os bydd i ni orchymmyn pendant i wneuthur rhyw beth megis yr oedd i *S. Pedr*. am *ddyfod at Grist ar y dyfroedd*. Oblegid gan ddywedyd o honaw ef wrtho am wneuthur hynny efe a ddylasai obeithio hyd y diwedd fod Duw yn ei gynnal ef: (eithr yn lle hynny ef a geryddwyd am iddo *ofni a phetruso*;) er *cryfed oedd y gwynt*, ac er bod pob tonn ym mron ei gladdu ef, ac yntef *yn dechreu suddo*. Mat. 14. 29—31. Neu er nad oes genym hawl arall am gynnorthwy ond yn unig oddi wrth ragluniaeth Duw (drwy achles yr hwn y gallwn fod yn hyderus) nid rhaid i ni ofni tra bom ar amcanion daionus, fel y crybwyll ein *Hiachawdwr* wrth geryddu *ei ddisgyblion am wendid eu ffydd wrth ofni torriad y llong*, er na roddasai orchymmyn pennodol i hwylio, nac addewid o rwydd-deb ar eu taith, eithr gallasent fod yn fwy cefnog o herwydd ei bresennoldeb ef, a'u bod ar achos cyfreithlawn. Mat. 8. 24—26. Mae Duw yn fynych yn rhoddi peryglon ar wyr da, gan eu dal hyd yr eithaf cyn esmwythau arnynt, fel y bo i'w ffydd

a'u

aʼu hyder gael eu profi hyd yr eithaf, aʼu hymarferion gael eu puro.

*Gof.* A ddysg hyn ddim arall i ni?

*At.* Dysg, na ymwrthodom â Duw er dim, gan ymneillduo am gynnorthwy anghyfreithlon yn y byd. Canys os nyni a lynwn wrtho ef, yr *Hollalluog* hwn a ddichon ar un gair ein hamddiffyn, er bod y peth ar y gwaethaf. Ond os nyni a ymwrthodwn ag ef, yntef a ddichon ddad-droi'r gallu hwn yn ein herbyn pan ei mynno.

*Gof.* Mae hynny yn allu rhyfeddol. Pa fodd y mae Duw yn rhoddi hyn ar waith.

*At.* Wrth wneuthur ei air ei hun yn dda; a chyflawni ei addewidion yn cynnyddu ei ewyllys da ar ei rai anwyl aʼi weinidogion ffyddlon, a barn ar ei elynion. Felly pob dynion sanctaidd a gant archwaethu melusder rhagluniaeth yn y bywyd hwn, megis *Jacob*, *Joseph*, a *Dafydd*, a'r hen dadau eraill, a'r *gwyr duwiol* yn y *cynfyd*: ac mewn diddanwch gogoneddus yn y byd ar ol.

*Gof.* Oni bai fod anorchfygol allu yn cael ei arferu yn dêg ac yn llariaidd, nyni a fyddem yn fwy ein hofn, ond yn llai ein cariad, i'r hwn sydd yn meddiannu'r gallu.

*At.* Yn wir nid oes dim gasach nâ gallu mawr mewn llaw greulon: hynny sydd yn peri fod mor gas genym allu'r tywyllwch. A hyn a ddysg i ni na thal mor bod yn rhy chwannog i bethau'r byd: ac na arfero neb mo'i alluowgrwydd yn orthrymmus, megis na bo i neb arferu trais er mwyn cyflawni eu chwantau anghyfreithlon, gan weithredu eu hamcanion ar eraill i borthi eu hanwydau eu hunain. Eithr yn hytrach arferant eu gallu i gefnogi rhinwedd, ymddiffyn y gwirion, diwallu'r gorthrymmedig, ffrwyno'r drygionus, neu ryw ddaioni arall.

*Gof.* Rhan o *alluowgrwydd* Duw, meddwch, ydyw

ydyw ei *awdurdod* i drefnu a gorchymmynu pob peth: Pa beth a feddylir wrth awdurdod Duw?

*At.* Nid yw ei awdurdod goruchel eiddo i neb arall, eithr yn allu i drefnu ac i erchi pob peth megis y bó gymmhwysaf i'w ddoethineb ef ei hun.

*Gof.* Pa sawl peth sydd i'w hystyried yn hyn?

*At.* Dau beth: yn gyntaf, *ymerodraeth:* hynny yw, gallu i orchymmyn, megis pen rheolwr. Yn ail, *arglwyddiaeth*, sef gallu i roddi a chyfrannu, megis perchennog. Fe a ddichon Duw roddi gorchymmyn pan fynno megis pen-llywiawdr; a dosparthu fel y mynno, neu bennodi etifeddiaethau a meddiannau, fel pen arglwydd a chyfrannwr. Ac y mae efe yn rheolwr ym mhob un o'r ddwy alwedigaeth heb fod yn ostyngedig i neb na dim arall, ond a wna bob peth wrth ei feddwl ei hun.

*Gof.* A ydyw Duw yn arferu ei awdurdodawl lywodraeth dros y byd?

*At.* Ydyw. Canys nid yw'r holl reolwyr eraill (medd yr *apostol*) amgen nâ *gweinidogion*. Mae ef yn cadw llyw rheolaeth yn ei law ei hun: yr *hwn yw'r bendigedig bennaeth, Brenin y brenhinoedd, ac Arglwydd yr arglwyddi.* Yr *Arglwydd a barottodd ei orseddfa yn y nefoedd: a'i frenhiniaeth ef sydd yn llywodraethu ar bob peth.* A'r ymerodraeth hon y mae yn ei harferu trwy roddi a chyfarwyddo pob gorchymmynion, ac arwain a threfnu pob gweithredoedd, gan droi'r byd wrth ei bwrpas ei hun.

Rhuf. 13. 4. 1 Tim. 6. 15. Sal. 103. 19.

*Gof.* A oes gan Dduw allu cyffredinol a diderfynol i orchymmyn pob peth?

*At.* Oes, yr hyn a fo ei greaduriaid trwy ei ras yn abl i'w gweithredu; a phob peth a'r a allo sancteiddrwydd a pherffeithrwydd ei nattur ef ei orchymmyn.

*Gof.* Pa ham y soniwch am y peth y byddo ei greaduriaid trwy ei ras ef yn abl i'w gwneuthur?

*At.* O herwydd fod ei lywodraethiad yn gywirach nag y gesyd ar neb ddim a'r a sydd yn ammhosibl. Ei gyfreithiau, yn wir, a fuasent yn ammhosibl i ni o ran ein nerth ein hunain, oni bai gynnorthwy y gras hwnnw y mae efe yn barod i'w ganiattau i ni. Nid ydyw efe yn medi lle nis hauodd: a pha beth bynnag y mae ei gyfreithiau ef yn ei ofyn, ei yspryd a ddyry gymmorth i'w gyflawni: *ei orchymmynion nid ydynt drymion: ei iau sydd esmwyth, a'i faich sydd ysgafn.*

*Gof.* Pa ham y chwanegwch hefyd, yr hyn oll y mae sancteiddrwydd a pherffeithrwydd nattur Duw yn ei erchi?

*At.* I ddangos nad yw efe yn rhoddi gorchymmynion o feddwl dideimlad, ond gwneuthur pob peth wrth ei anghyfnewidiol farn. Efe a ddichon orchymmyn yr hyn a chwennycho, ond etto, ni ddichon iddo bob amser orchymmyn mor hyn a hoffom ni, eithr yr hyn a fyddo yn debygol iddo ef, yn ddaionus ac yn ddoeth. Nid yw un amser yn ewyllysio yn erbyn perffeithrwydd ei nattur, o ran dim a'r a wnelo.

*Gof.* Gan fod Duw yn gorchymmyn sancteiddrwydd, barn, trugarowgrwydd, gwirionedd, a ffyddlondeb, y rhai ydynt ei berffeithrwydd natturiol ei hun, nid oes bosibl droi'r gorchymmynion hyn gan erchi i'r gwrthwyneb?

*At.* Nagoes: Canys drwy orchymmyn y rhinweddau hyn, y mae efe yn erchi i ni fod yn debyg iddo ef ei hun, sef, *yn sanctaidd megis y mae yntef yn sanctaidd:* yn *berffaith* mewn addfwynder *megis y mae yntef yn berffaith.* A chan eu bod wedi eu copio allan o'i berffeithrwydd ef ei hun, y mae y rhinweddau hyn yn rhwymedigaeth ar ei ewyllys ef; a chan ei fod ef o'i hunan hanfod, ni ddichon iddo byth ewyllysio'r cyfryw i'r gwrthwyneb.

1 Ped. 1. 16.
Mat. 5. 48.

Maent

Maent hefyd yn ddyledswyddau arnom ni yn gystal a phatrymmau o'n hufudd-dod, oblegid mai gorchymmynion Duw ydynt: Ond yr hyn a wnaeth iddo ef eu herchi oedd yr arwyddion daionus ynddynt. A chan ei fod ef yn anghyfnewidiol, mae yn rhaid iddynt hwythau fod felly yn wastadol. Oblegid hyn y dywedir, fod rhinweddau galluog y Duwdod yn ddyledswyddau hanfodol, a thragywyddol ddaioni rhwymedig.

*Gof.* A ydyw Duw yn arferu'r ymerodraeth hon, gan arwain a chyfarwyddo pob gweithrediadau wrth ei ewyllys cyfrinachol ei hun?

*At.* *Y mae efe yn gwneuthur yn ol ei ewyllys ei hun* Dan. 4.
*â llu y nefoedd, ac â thrigolion y ddaear; ac nid oes* 35.
*a attalio ei law ef, neu a ddywedo, beth yr wyt yn ei wneuthur?* megis y cyfaddefodd *Nebucodonosor pan ddychwelodd e'i wybodaeth atto ef.* Y mae efe yn rhagflaenu mewn pob cynghorfa, ac yn cyfarwyddo pob gweithredoedd a damweiniau: *yn* Esay 45.
*llunio goleuni, ac yn creu tywyllwch, yn gwneuthur* 7.
*llwyddiant, ac yn creu drygfyd: myfi yr Arglwydd sydd yn gwneuthur hyn oll.* A hyn oll a elwir yn rhagluniaeth Duw.

*Gof.* A oes gan Dduw hefyd awdurdod i roddi pob peth, ac i ddosparthu meddiannau mewn ystad a chyflwr, fel goruchel berchennog?

*At.* Oes. Ei law ef a wnaeth bob peth, gan roddi'r gwaith a'r defnydd, a'i allu ef sydd fyth yn eu cynnal, gan eu harferu fel y mynno: *canys* Dat. 4.
*ti a greaist bob peth, ac o herwydd dy ewyllys di y* 11.
*maent, ac y crewyd hwynt: Megis ac y mae'r clai* Jer. 18.
*yn llaw y crochenydd,* i'w lunio, un ai i barch ai i 6.
ammharch, *felly yr ydych chwithau yn fy llaw i, tŷ*
*Israel: Wele y nefoedd a nefoedd y nefoedd ydynt ei* Deut. 10.
*eiddo ef. Eiddo yr Arglwydd y ddaear, a'i chy-* 14.
*flawnder: y byd ac a bresswylio ynddo.* A chan ei Sal. 24.
fod ef yn y modd hyn yn bennadur anfeidrol a 1.
hollawl berchennog, efe a esyd ac a ddad-esyd,

a rydd ac a gymmer y cwbl yn y modd y mynno
Job 9.12 efe ei hun: *Efe a sglyfaetha, pwy a'i lluddia? pwy a ddywed wrtho pa beth yr wyt yn ei wneuthur?*

*Gof.* Gan fod y da a'r drwg yn y byd hwn a'r nesaf, yn llaw Dduw, i'w trefnu ganddo fel y mynno: ai wrth reolaeth ac yn ol rhag-barottoad dynion y mae efe yn dosparthu ei awdurdod a'i ewyllys ei hun?

*At.* Y mae efe wrth bennodi'r pethau mwyaf, sef gwobrau a cheryddon yn y byd ar ol, yn rhwymo ei ddidrangc allu ei hun mewn cyfreithiau ac ammodau. Ond am bethau da a drwg, y rhai nid ydynt tan addewidion neu gyfammodau, y mae efe yn eu rhannu o'i hawl ei hun, megis y gwelo efe yn oreu: ac megis y gellir galw y rhannau cyntaf yn *ddosparthiadau cyfreithlawn* a *barn gysammodol*, gellir galw'r lleill yn *allu rhagorfreiniol* ac *ewyllys di-rwymedig* y barnwr galluog hwn.

*Gof.* Mewn pa bethau neillduol y mae Duw yn gweithredu yn ein mysg o'i *allu-di-rwymedig* gan rannu pethau da a drwg, neu feddiannau daearol yn ol ei feddwl ei hun, ac nid yn ol cynneddfau ac ymddygiadau dynion?

*At.* Nid wyf yn dywedyd ei fod ef yn gweithredu felly bob amser, eithr yn fynych y mae ef. Yn gyntaf, wrth ddosparthu meddiannau ac achosion daearol â rhagoriaeth cyflwr: megis fod i'r naill gael ei eni o bobl gyfrifol, neu ddigwydd iddo gyfoethowgrwydd mawr neu swyddau anrhydeddus, neu fod iddo harddwch corphorol, a'r cyfryw. A'r llall gael ei eni o bobl gyffredin neu fod yn wael neu anolygus, tlawd neu ansynhwyrol. Megis yr achos a wnaeth i'r *Iuddewon*
Io. 9. 2, 3 ofyn i'n *Hiachawdwr, pwy a bechasai fel y genid y dyn yn ddall*; Ein *Hiachawdwr* a ddywedai mai di angenrhaid ydoedd chwilio am y cyfryw raghaeddiant yn y *dyn na'i rieni* ond mai digon oedd dywedyd,

dywedyd, mai er *mwyn amlygu gweithredoedd Duw ynddo ef* y ganesid ef felly. Yn ail gan ddosparthu ei amrywiol gynnorthwyadau i grefyddol ddigwyddiadau, megis i un gael ei eni o rieni cristianogaidd, a'i hyfforddio mewn iawn ffydd ac addoliad, yngolwg siamplau da a than fugeiliaid gofalus a chyfarwydd: ac i un arall fod yn ol o beth, neu nid hwyrach o'r cwbl oll: A dyna'r modd yr oedd rhagoriaeth mewn breintiau *llyg* a *llen*, yr hyn a roddes Duw rhwng yr *Iuddewon* a'r *Edomiaid* (*yr hynaf i wasanaethu'r ieuangaf*, nid gan fwriadu dwyn hynny i ben yn *Jacob* ac *Esau*, eithr yn hyttrach, yr oedd *Jacob* i wasanaethu *Esau*; ond eu hiliogaeth, am y rhai y dywedai Duw yn bendant pan gyhoeddwyd hynny gyntaf i *Rebecca*; A *Malaci* sydd o'r un feddwl, oddi wrth ba un y mae *S. Paul* yn cymmeryd yr unrhyw hanes). Y rhagorfraint hwn, medd yr *apostol*, oedd yn ol *ewyllys* Duw, ac nid o ran eu rhag-haeddiant hwy Canys Duw a gyhoeddai hyn i *Rebecca*, *pan oedd y plant etto heb eu geni ac heb wneuthur na da na drwg* i'w darparu i'r digwyddiadau hynny. Ond gan fod y rhagorfreintiau hyn i'r *Iuddewon* uwchlaw'r *Edomiaid*, a chwedi hynny (medd yr *apostol*) i'r *Cenhedloedd* uwchlaw yr *Iuddewon*, pan daflwyd yr *Iuddewon* heibio, ac y derbyniwyd y *Cenhedloedd* i'r eglwys yn eu lle hwynt: *a oes anghyfiawnder gyd â Duw* oblegid *ei fod ef yn trugarhau wrth y rhai y trugarhao? Na atto Duw.* Yn ddiweddaf, heb grybwyll am ddim ychwaneg. Er iddo ef fod yn cynnyg i bob dyn ddigonedd o gynnorthwy tuag at eu gwneuthur yn abl i'w foddio ef (oni bydd y bai arnynt eu hunain) yr hyn a wna bawb fel eu gilydd yn anesgusodol: etto, mae efe yn rhoddi graddau mwy rhagorol o ras, ac yn dangos mwy amynedd i rai trofeddwyr nâ'u gilydd. Canys y mae rhai yn cael eu taro â dialedd disymmwth nid hwyrach ar ddechreuad rhyw amcanion,

Gen. 25. 23.
Gen. 33. 3.
Mal. 1 2, 3.
Rhuf. 9. 11—13.
Rhuf. 9. 23—26.
Adn. 30.
Rhuf. 9. 14, 15.

canion, eraill yn cael eu harbed ym mhellach: Megis yr oedd Duw yn arbed *Pharaoh* o ran *ei gyfodi ef* fyth i brofiad newydd, ar ol ei gyndynrwydd amryw weithiau. Y mae *S. Paul* yn cyfrif hyn yn rhagorfraint i Dduw, yr hwn a *drugarha wrth yr hwn y trugarhao.* Y mae Duw yn cyfrannu y digwyddiadau daearol hyn, sef y rhagorfreintiau a'r rhyddid oddi allan, yn raddau mwy ardderchog o ras, trwy yr unrhyw awdurdod ac anfeidrol allu ym mysg ei greaduriaid ac y mae *y crochenydd uwch ben ei bridd* (medd *S. Paul*) gan *wneuthur un llestr i barch, ac un arall i ammharch:* nid o ran rhagoriaeth y pridd, ond *gan wneuthur pob un o'r un telpyn* yn ol ei bwrpas a'i ewyllys ei hun.

Rhuf. 9. 17, 18.

Rhuf. 9. 21.

*Gof.* Ai nid ydyw Duw yn cyfrannu yn ddoeth ac yn rhesymmol er ei fod wrth ei feddwl ei hun?

*Att.* Ydyw yn wir: Eithr meddwl dyn fydd y rhan fynychaf yn gibddall mewn amcanion pryfur: ond nid ydyw meddwl Duw un amser yn anrhesymmol; y goruchaf gyngor fydd yn ei gyfarwyddo ef lle y meddylid ei fod ef fwyaf wrth ei feddwl ei hun. *Mae efe yn gweithio pob peth wrth gyngor ei ewyllys ei hun:* Felly y dywedir ei fod ef yn gweithredu wrth ei feddwl ei hun, nid fel pe d. fai meddwl Duw yn erbyn rhefwm da ond o herwydd nad yw refwm y bydd raid iddo ef oddef ei gyfarwyddo gan na chyfraith na chyfammod o'i eiddo ei hun. Ei weithrediad fydd o hono ei hun, oblegid nad yw tan unrhyw gyfammod. Ond pa beth bynnag a adawyd ar ei law ef ei hun y mae yn ei drefnu mewn uniawndeb, doethineb a daioni: fel y cair gweled pan ganfyddir cyngor gweithredoedd y Goruchaf.

Ephes. 1. 11.

*Gof.* A ydyw Duw yn arferu y rhagorfreiniol allu hwn wrth bennodi gras achubol, y bo i'r naill ddyn gael ei ras, ac i'r llall fyned hebddo er

ei

ei geisio yn ddifrifol, yn unig o ran bod hynny yn boddio ei hanfod ef?

*At.* Nag ydyw, y mae hynny tan ammodau ac addewidion, ac i'w roddi wrth fesur, fel y bo parodrwydd dynion i'w dderbyn a'u diwydrwydd yn ei geisio. *O bydd ar neb o honoch eisiau doethineb, gofyned gan Dduw, yr hwn sydd yn rhoi yn haelionus i bawb: Duw a rydd ei Yspryd Glan i'r rhai a ofynant ganddo; ac i bob un y mae ganddo* (sef a helaetho ei *dalentau*) *y rhoddir.* Dyma reolau y cyfammodau am bennodi neu gyfrannu gras achubol. Iag. 1. 5. Luc 11. 13. Mat 25. 29.

*Gof.* A ydyw efe yn arferu ei ragorfreiniol allu wrth bennodi *nef* ac *uffern*; a *gwobrwyau* a *chospedigaethau?*

*At.* Nag ydyw: nid ydyw y rhai hyn i'w cennadu wrth anfeidrol ewyllys ond wrth farn gyfreithlawn. Yn y dydd diweddaf y bydd i *bob dyn ymddangos ger bron brawdle Crist, fel y derbynio pob un y pethau a wnaethpwyd yn y corph, yn ol yr hyn a wnaeth, pa un bynnag ai da ai drwg. A hwy a fernir bob un yn ol eu gweithredoedd.* 2 Cor. 5. 10. Dat. 20. 12, 13.

*Gof.* Gan hynny ni bydd i neb a fo byw yn anwireddus le i feddwl fod i Dduw (o ran dangos ei ragorfraint) ei achub ef: Neu os bydd i neb wellhau yn ddifrifol, a raid iddo ofni cael ei gau allan oddi wrth ras, yn unig o ran i Dduw ddangos ei anfeidrol allu?

*At.* Na raid, nid rhaid ofni mo hynny, ped na fai genym ond sancteiddrwydd ac annherfynol uniawn-farn y Duwdod i ymddiried wrthynt. Ac nid ydyw Duw yn y rhannau pwysfawr hyn yn gweithredu yn ol ei anfeidrol allu, ond megis y rhwymodd efe ei hun yn llywydd wrth gyfraith a chyfammod, wrth yr hyn y dyry ef wobr a chosp. A phan ddisgwyliom ni am ryw rodd rasusol ganddo ef, ni wiw i ni ein bodloni ein hunain gan feddwl am ryw ddirgel ammodau wrth ein pwrpas

ein hunain, eithr yn unig am yr addewidion a'r
cyfammodau cyhoeddedig o'r blaen: A'r rhai
hynny, fel y dangosais, a gyhoeddant drugaredd
i'r daionus, a dialedd i'r anwireddus a gras Duw
a'i yspryd i bawb a'u gofynant yn ddifrifol. Ca-
nys mewn perthynas i daledigaethau disgwyliedig,
1 Io. 1. 9. medd *S. Ioan*, *Duw sydd gyfiawn*: Ac am gyn-
1 Cor. 10. northwy presennol, medd *S. Paul*, *Duw sydd ffydd-*
13. Heb. 6. *lon:* Ac medd *S. Paul* drachefn mewn perthynas
10. i bob un, *nid yw Duw yn anghyfiawn:* gan hynny
yn gwneuthur nid ei anfeidrol a'i ragorfreiniol
feddwl ei hun yn unig, ond purdeb barn gyfam-
modol hefyd, o ran siccrwydd i ddisgwyliadau
dynion wrtho ef yn yr achosion hyn.

*Gof.* Chwi a grybwyllasoch amryw weithiau
am uniawndeb nattur y Duwdod yn gystal a rhodd-
iad ei gyfreithiau, a'i ammodau i rwymo ei ewyllys
a'i allu breiniol ei hun. A nattur y Duwdod a
amlygwyd genych or blaen: ond mysi a chwen-
nychwn gael hanes byr o'i ffordd a'i dymmer allan
o'r *ysgrythyrau sanctaidd?*

Heb 6. *At.* Hynny a eglurheir yn y moddion hyn,
18 sef mai *ammhossibl i Dduw fod yn gelwyddog*; ei *fod*
2 Tim. 2. *ef yn aros yn ffyddlon*; *ac nis gall efe ei wadu ei hun*; ei
13. Hab. 1. *fod ef yn lanach ei lygaid nag y geill edrych ar ddrwg*;
13 mae *efe yn casau holl weithred-wyr anwiredd*; nid
Sal. 5. 5. *ellir ei demtio ef â drygau, ac nid yw efe yn temtio*
Iag. 1. 13. *neb*, ei *holl ffyrdd ydynt farn: Duw gwirionedd ac*
Deut. 32. *heb anwiredd, cyfiawn ac uniawn yw efe*; ni *dder-*
4. Deut. 10 *byn wyneb, ac ni chymmer wobr*; efe *a gar gy-*
17. Sal. 11. 7. *fiawnder, ac a edrych ar yr uniawn*; efe *sydd dru-*
Ecs. 34. *garog a grasl awn, hwyrfrydig i ddig, ac aml o dru-*
6, 7. *gareddau a gwirionedd: yn cadw trugaredd i filoedd*
1 Io 4. 8, Duw *cariad yw*; ac megis nad yw efe yn *cyfrif*
16. Ecs. 34 7. *mor anwir yn gyfiawn* felly *nid ymhoffa efe ym marw-*
Ezec. 33 *olaeth yr annuwiol.* Y pwyntiau hyn oll a ddang-
11. osant anghyfnewidiol allu, ffordd, a gwreiddyn
y Duwdod, yr hyn nis gwad ac nis gwrthwyneba
efe o ran gwneuthur yn ol ei feddwl ei hun.

*Gof.* Gan fod Duw hollalluog yn hollawl berchennog ar bob peth ac yn gallu gwneuthur fel y mynno, mae efe yn oll ddigonol ynddo ei hun, ac nid rhaid iddo wrth ddim na neb arall i berffeithio ei ddedwyddwch.

*At.* Na raid: *fy nâ nid yw ddim i ti*, medd *Dafydd*. Sal. 16.2. Nid oes arno ef eisiau dim a'r a allo un creadur ei gynnyg iddo, a phed fai, efe a ddichon ei ddiwallu ei hun, o herwydd nid eill yr holl fyd roddi iddo ef ddim ond o'r hyn y gaffont ganddo.

*Gof.* Os ydym ni mor dlodion nad ellwn roddi, a Duw mor ddiwall nad rhaid iddo dderbyn dim, mae yn amlwg nad yw efe yn anewyllysgar i roddi, nac yn chwennych manteisiau oddiwrth ddim a'r a wnelom?

*At.* Felly y mae: Ei bwrpas ef ydyw cyfrannu happusrwydd nid i ynnill wrtho. A hyn a ddengys i ddynion mor ddiangenrhaid yw eu petrufter, gan ofni nad ydynt yn ddigon difrifol yngwasanaeth Duw. Canys os iawn ystyriwn, nid yw ein pwrpas ni o wneuthur daioni, ond i'r un diben a'i bwrpas yntef, yr ydym yn chwanegu ei ogoniant ef wrth wneuthur daioni i ni ein hunain. Canys nid wrth gymmeryd ond wrth roddi yn hyttrach, y mae efe yn ceisio ei ogoneddu.

*Gof.* Pa beth sydd raid i bennaduriaeth Duw a'i anfeidrol awdurdod ddysgu ini?

*At.* Yn gyntaf (gan nad yw pob dim a'r a feddom ond mewn dalfa i ni tano ef) na cheisiom ddim meddiannau bydol trwy dwyll neu drais ddichellgar: canys pwy bynnag a ddel i berchen eiddo trwy dwyll neu ffalster, nid oes iddo hawl gyfreithlon arnynt, ond gormesiad anghyfiawn ydyw yn hyttrach.

*Gof.* Pa beth arall a ddysgir wrth y llywodraeth anfeidrol hon?

*At.*

*At*. Yn ail, nyni a ddysgwn fod yn fodlongar ym mhob cyflwr. Canys boed i ran un dyn fod mor wael (megis y meddwl pob dyn mai ei faich ef a fydd drymmaf, a'i wobr yn lleiaf) etto y mae gan Dduw allu anfeidrol i wneuthur un yn gyfoethog a'r llall yn dlawd, fel y mae gan y
Ier. 18.6. *crochenydd awdurdod i wneuthur o'r un telpyn pridd*
Rhuf. 9. *un llestr i barch ac arall i ammharch:* Nid allant
21. lai nâ bod wedi eu trefnu yn uniawn, canys er lleied a fo dyn i'w feddiannu, etto mae'r ychydig hwnnw yn anhaeddol; ac os bydd i ryw un
Mat. 20. arall gael mwy, *na bydded ein llygad ni yn ddrwg o*
15. *herwydd fod Duw yn dda.*

*Gof*. A ddysg hyn i ni ddim ychwaneg?

*At*. Dysg, yn drydydd, bod yn fodlongar pan gymmero ef ei roddion yn ol. Nid yw efe yn gwneuthur ei *denantiaid* yn *uchelwyr*, na chymmaint a *thenantiaid am oes:* Yr hyn yr ydym ni yn ei ddal tano ef, a'n gwna, nid amgen nâ *thenantiaid hyd fodd*, i'n di-feddiannu hefyd pan ei mynno. Gan hynny pan roddo Duw fenthyg iechyd neu gyfoeth neu anrhydedd neu gyfeillion neu blant, rhaid i ni eu mwynhau gan gofio nad ynt ond benthyg tros amser, a bodloni i'w rhoddi hwynt i fynu pan elwir am danynt, megis yr *hen Eli* gynt (pan ddiswyddwyd ef a'i deulu yn
1 Sam. 3. dragywydd) a ddywedodd yn unig, *yr Arglwydd*
18. *yw efe: gwnaed a fyddo da yn ei olwg.* Neu megis *Job*, yr hwn, (er ei fod yn gyfoethoccaf a dedwyddaf, yn ddisymmwth a wnaethpwyd yn dlottaf a thruanaf o holl *feibion y dwyrain*) a ddy-
Job 1.21. wedodd yn unig, *yr Arglwydd a roddodd, yr Arglwydd a ddygodd ymaith: bendigedig fyddo enw'r Arglwydd.*

*Gof*. Pa beth ychwaneg a ddysgir wrth hyn?

*At*. Yn bedwaredd, arferu ei holl roddion ef i'w anrhydedd. Nid yw yn ein gosod ni yn

*berchennogion*

*berchennogion* eithr yn *oruchwilwyr* arnynt. Ac *yr ydys yn disgwyl mewn goruchwilwyr gael un yn ffyddlon*, gan drefnu yr hyn a roddir tan eu dwylaw mewn ymddiried yn ol pwrpas a mantais eu meistr. Gan hynny ni ddylai neb gyfrif yr etifeddiaeth neu'r meddiannau a dderbyniasant gan Dduw, yn uchelfraint iddynt eu hunain o ran seguryd a diofalwch, neu i'w gwario mewn difyrrwch ac oferedd, fel ped fai wyr cyfoethogion yn ddarostyngedig i ddim arall: nac yn sicr ni ddylid mo'u gwario ar falchder a gwagedd, na'u difa mewn drygioni, gormodedd, ac afradlonrwydd. Tra byddo iechyd, synwyr, a chyfoeth, a phob manteision eraill, yn unig ond bendithion oddi ar law Dduw, nid ydynt i'w difa mewn seguryd esgeulus nac afradlonrwydd, eithr er mawl a gogoniant i'r perchennog. 1 Ped. 4. 9, 10. 1 Cor. 4. 2.

*Gof.* A ddysgir i ni ddim arall?

*At.* Yn bummed, mae hyn yn dysgu i ni fod yn ostyngedig, sobr, a chymmedrol dan bob rhyw flaenoriaeth gorphorol, ymadrodd, gallu, neu feddiannau, o'r eiddo eraill. Pan fo i'r manteisiau hyn chwyddo dynion o falchder a gwag hoffder, neu uchel dyb, maent yn chwennych yr holl anrhydedd wenhieuthus honno iddynt eu hunain fel ped faent y perchennogion. Ond pan font yn eu hystyried megis rhoddion Duw i'w dal ganddynt hyd fodd, hwy a gyfrifant yr holl anrhydedd berthynol iddynt yn berchennogaeth iddo ef, gan ddysgu cymmedroldeb, gofal, ymddiried, a diolchgarwch: a pheidio hefyd â balchio gan watwor, o herwydd diffyg y cyfryw roddion daionus mewn eraill: gan gofio mai *yr hwn a watworo'r tlawd* (yr hyn yw yr un peth â diffygiadau cynneddfau eraill) *sydd yn gwaradwyddo ei wneuthurwr*, yr hwn a'i rhoddes ef yn y cyflwr digonol hwnnw, fel y dywedodd *Solomon*. Diar. 17. 5.

*Gof.* Mysi-a welaf wrth hyn fod yr hollalluog

Dduw

Dduw yn anfesurol fawrhydi. Pa fodd y bydd i feddwl am y cyfryw anorchfygol ac anfeidrol fraint ein cyffroi ni?

*At.* Mewn darostyngedig ufudd-dod a pharch. Canys y cyfryw annhraethawl fawrhydi a ddylai daro ynom arswydus a sancteiddiol ofn a gostyngeiddrwydd bob amser y bo i ni son am y Duw mawr hwn yn enwedig pan syrthiom i'w addoli
Deut. 28. ef: *gan ofni'r enw gogoneddus, ac ofnadwy hwn, yr*
58. *Arglwydd dy Dduw: Efe yw rhagorfraint Jacob:*
Amos 8. *Y goruchaf ar yr holl ddaear: Duw mawr, cadarn,*
7. Sal. 83. *ac ofnadwy: yn ogoneddus mewn sancteiddrwydd, yn*
18. *ofnadwy mewn moliant, yn gwneuthur rhyfeddodau:*
Deut. 10. *sancteiddiol ac ofnadwy yw ei enw ef.*
17. Ecs. 15. *Gof.* Wrth yr hollalluog nerthoedd hyn, y
11. mae'n hawdd gwybod mai Duw a wnaeth y byd?
Sal. 111. *At.* Ydyw. Wrth yr *enwau* mawrion hynny
9. *yn y dechreuad, y creawdd Duw y nefoedd a'r daear*;
Gen. 1. 1. a thrwy yr un *allu* anfeidrol hwnnw y mae efe yn
eu llywodraethu, ac yn eu cynnal, megis yr eglurwyd o'r blaen.

*Diwedd y Rhan gyntaf.*





# Y CREDADYN BUCHEDDOL.

## YR EILFED RAN.

## Y Wybodaeth am IESU GRIST.

### PENNOD I.

### Swydd a naturiaethau IESU GRIST.

Y CYNHWYSIAD.

*Lle y mae iachawdwriaeth trwy Iesu Grist yn sefyll. Gan fod yn Grist, y mae ef yn arwyddo ei hanfod yn gyntaf, gan fod yn brophwyd i athrawiaethu ei eglwys. Yn rhaid ei wrandaw a dysgu ganddo ef yn yr ysgrythyrau, ac wrth leferydd ei weinidogion. Yn ail, yn offeiriad i waredu ei eglwys, ac i eiriol trosti. Yn drydydd, yn frenin i'w llywodraethu wrth ei gyfreithiau, a than ei swyddogion, i'r rhai, tano ef, yr ydym ni yn ddarostyngedig. I'w chadw hefyd rhag ei gelynion dirgel a chyhoedd. Iesu Grist yn fab Duw, megis wedi derbyn oddi wrth y Tad nattur y Duwdod. Gallu Duw. O ran*

*ran yr achosion hynny ac eraill, ef yw ein Harglwydd. Y mae ef i'w addoli. Y peth yr ydym ni i'w ddysgu ganddo o ran ei fod yn Arglwydd i ni. Am genhedliad Crist trwy'r Yspryd Glan; a'i eni o Fair forwyn. Efe oedd wir ddyn. Pa-ham yr oedd efe felly.*

Y Bennod yn canlyn.

*Gofyn.* PA beth yw yr ail *bann* yn y *credo?*

*At.* Credaf *yn Iesu Grist ei un Mab ef, a'n Harglwydd ni.*

*Gof.* Y mae'r enw hwn yn arwyddoccau *achubwr.* Oddiwrth ba bethau gan hynny y mae *Crist* yn ein hachub ni?

*At.* Yn gyntaf, oddi wrth ein pechodau. Yn ail, oddi wrth boenau tragywyddol, neu'r gosp am bechodau.

*Gof.* Os ydyw efe yn achubwr i ni, a raid iddo ein diwygio a'n hachub oddi wrth ein pechodau?

*At.* Rhaid: canys dyna y rheswm pennaf i roddi'r enw hwn iddo, *a thi a elwi ei enw ef Iesu,*
Mat. 1. 21. *oblegid efe a wared ei bobl oddiwrth eu pechodau.*

*Gof.* A weryd efe neb oddi wrth ei gospedigaeth ond a fo iddo wared oddi wrth ei bechodau yn gyntaf?

Luc 13. 3. *At.* Na weryd, *onid edifarhewch, chwi a ddifethir oll.* Ac o'r diwedd efe a ddywed, *ewch ymaith*
Mat. 7. 23. *oddi wrthyf, chwi weithredwyr anwiredd.*

*Gof.* Ond ar ol eu gwaredu hwynt oddi wrth eu pechodau hwy a allant fod yn ddiogel am
Rhuf. 8. 1. waredigaeth oddi wrth farwolaeth dragywyddol?

*At.* Gallant. *Canys nid oes yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sy yng Nghrist Iesu, y rhai*
Io. 1. 41. *sy yn rhodio nid yn ol y cnawd eithr yn ol yr yspryd.*

*Gof.* Yr enw *Crist* sydd yn arwyddo *enneiniog* gyd â'r *Groegiaid,* megis y mae *Messias* gyd â'r *Hebræaid: Messias, os deonglir, ydyw y Crist* neu'r enneiniog,

enneiniog, medd *S. Andreas*: eithr pa beth a feddylir wrth alw'r *Iesu* yn *Fessias*, neu yn *Grist*, sef yr enneiniog?

*At.* Ei gyssegriad â swydd *propbwyd* i ddysgu ei eglwys; ac â swydd *offeiriad* i wneud cymmod ac i eirioli trosti; ac â swydd *brenin* i'w rheoli a'i chadw.

*Gof.* Pa ham y gelwch chwi'r cyssegriad hwn yn *enneiniad?*

*At.* O blegid, mai'r wisgad i'r swyddau hyn yn yr hen amser, wrth arfer pobl y *dwyrain*, oedd tywallt olew arnynt, megis y gwnaethpwyd ar y *propbwyd Eliseus*, ac ar *Aaron yr arch offeiriad*; a phan arferid gwneuthur *brenbinoedd ar yr Iuddewon*, 1 Bren 19. 16.
fel y dywed eu *doctoriaid*. Canys nid wrth etifeddiaeth yr oeddynt hwy yn derbyn eu swyddau, Lef. 8. 12.
eithr wrth ryw ragorol weithrediad, megis yn amser y *brenin Saul* a'r *brenin Dafydd*. Yn gyfattebol i ba rai, y *weithred* honno (mewn perthynas i dair swydd y *Messias*) a elwir, *ei enneiniad ef.* 1 Sam. 9. 16. a 10. 1. Pen. 16. 13.

*Gof.* A oedd *Crist* yn cael ei enneinio i'r holl swyddau hyn drwy dywallt olew arno? Esay 61. 1, 2, 3.

*At.* Nag oedd, ond trwy dywallt pethau mwy rhagorol, sef doniau rhyfeddol yr *Yspryd Glan*, trwy yr hyn yr urddwyd ef yn gyfattebol i'w henneiniad hwythau. *Duw a enneiniodd Iesu o Nazareth â'r Yspryd Glan ac â nerth.* Act. 10. 38.

*Gof.* A oedd *Crist* (o ran swydd a braint) yn *bropbwyd* i athrawiaethu ei eglwys? Io. 3. 2. Io. 12. 49, 50. Io. 6. 14.

*At.* Oedd. *Efe oedd ddysgawdwr wedi dyfod oddi wrth Dduw. Efe ni lafarodd o hono ei hun, ond megis y rhoddes y Tad iddo orchymmyn, efe a lafarodd:* yn gymmaint ac i'r bobl ddywedyd yr iawn wir am dano, pan ddywedent, *hwn yn ddiau yw y propbwyd oedd ar ddyfod i'r byd.* Ac nid oedd efe o'r prophwydi gwaelaf ychwaith, eithr mewn galwad ardderchog, o lawer uwchlaw eraill. Canys iddo ef yr oedd prophwydoliaeth yn gorphwys

phwys arno bob amser (yr hyn ni swynhaodd y goreu o honynt hwy ond ar amserau, ac wrth achosion pennodol) ac efe a wyddai ewyllys Duw, gan fod mewn gwastadol gydnabyddiaeth ag ef, lle yr oedd yn cael dealltwriaeth ddisymmwth, nid trwy *gennadwri angylion* neu *weledigaethau* neu
Io. 1. 18. *freuddwydion*, megis prophwydi eraill: ond *yr unig anedig Fab, yr hwn sydd ym monwes y Tad, hwnnw ai hanfonodd ef.* Ac o herwydd hyn (ym mysg pethau eraill) gan yr holl brophwydi a deonglwyr meddwl Duw, efe yn unig a elwir, *y Gair*, o herwydd ei fod ef ym monwes Duw, efe a gai ei feddwl ef yn ddiattreg, ac mor fuan ac y dengys gair y meddwl.

*Gof.* Pa beth a ddysg hyn i ni?

*At.* Ymofyn â *Christ* yn unig (os ewyllysiwn wybodaeth o feddwl Duw) gan ochelyd gwrando ar ddim goleuni newydd, modd na thwyllom ein hunain. Amryw dwyllwyr a gau athrawon a ddaethant i ddangos ewyllys Duw ym' mhlith dynion, a'r ffordd i happusrwydd, ym mhob oes: eithr nid buddiol i ni wrando ar y cyfryw. Y weithred hon o gyfrannu meddwl Duw i ddynion a ymddiriedwyd yn *Iesu Grist* yr hwn a bennodwyd gan Dduw ac a enneiniwyd i'r diben hwnnw
Mat. 17. 5. *Hwn yw fy anwyl fab yn yr hwn y'm bodlonwyd: gwrandewch arno ef.*

*Gof.* Eithr pa fodd y mae i ni ddysgu ganddo ef, gan nad yw efe gyd â ni yma ar y ddaear?

*At.* Y mae efe yn arferu dwy ffordd yn ei swydd brophwydoliaeth i gyfrannu meddwl Duw. Yn gyntaf, trwy'r ysgrythyrau: yr hyn yw'r peth a ddywedodd Duw iddo ef trwy *ymddiddanion pre-*
Io. 16. 13 *sennol*, a *thrwy ei yspryd yn ein harwain i bob gwirionedd*, yr hyn a drefnodd yntef i'r *apostolion* a'r *efangylwyr*: a hwythau a'u dodasant yn ysgrifen (yr hyn yw'r *ysgrythyrau*) i'w pregethu a'u hyspysu i bawb drwy'r holl amseroedd. Felly pan

pan wrandawom eu darllain, rhaid i ni gofio mai *geiriau Crist* ein prophwyd mawr ydynt. Ac i ymrwystro oddi wrth yr arferion hynny, nid yw lai nâ rhwystro ein cymmundeb ni â'r *prophwyd* mawr hwn. Yn ail, drwy *weinidogion*, y rhai a bennododd efe i yspysu meddwl Duw i'r bobl yn ei le ef ei hun. Yn y moddion hyn yr ordeiniwyd yr *offeiriadau* ym mysg yr *Israeliaid*: *Canys gwefusau'r offeiriad a gadwant wybodaeth, a'r gyfraith a geisiant o'i enau ef: o herwydd cennad Arglwydd y lluoedd yw efe.* Ac felly y mae *gweinidogion Crist* yn ein mysg ninnau, *gan ddysgu iddynt gadw pob peth a'r a orchymynais i chwi*; *ac wele yr ydwyfi gyd â chwi bob amser, hyd ddiwedd y byd*: hynny yw, cyhyd a'ch einioes eich hunain, a'r bugeiliaid, a'r dysgawdwyr a ddel ar eich ol hyd ddiwedd y byd. Felly, os nyni a wrandawn ar *Grist*, gan ei gyfaddef yn brophwyd ar ein heglwys, rhaid i ni geisio meddwl *Crist* o'r ysgrythyrau, ac o enau ein hesgobion a'n bugeiliaid, y rhai ydynt ei weinidogion ef i eglurhau'r cyfryw ysgrythyrau. Mal. 2. 7. Mat. 28. 20.

*Gof.* Gan ei enneinio ef i swydd *offeiriaid*, mewn pa beth y mae honno yn sefyll?

*At.* Mewn dau beth. Yn gyntaf *taledigaeth am y gwerth*, i wneuthur cymmod â Duw, ac iawn am bechodau dynion. Yn ail *cyfryngiad yn dragywydd gwedi*, modd y bo iddynt y lles a'r fendith oddi wrtho. Canys prophwyd a anfonir oddi wrth Dduw at ddynion, i gyhoeddi ei ewyllys iddynt. Eithr offeiriad sydd i finistrio rhwng Duw a dynion, wedi ei ordeinio (fel y dywed *S. Paul*) *tros ddynion yn y pethau sydd tu ac at Dduw.* Felly y mae'r offeiriad yn sefyll tros yr eglwys, i wneuthur cymmod ac i eirioli trosti. Heb. 5. 1.

*Gof.* A ddarfu i *Grist* wneuthur rhan offeiriad

i'r eglwys gan dalu pridwerth i wneuthur iawn i Dduw, fel y gallo efe eirioli trosti?

*At*. Do, efe a wnaeth gymmod rhyngom ni a
Rhuf. 5. 10. Duw, gan farw trosom ni: *heddychwyd ni â Duw trwy farwolaeth ei fab ef*. A chan ei fod ef yr
Heb. 7. 25. awr hon wedi cyfodi oddi wrth y meirw: *efe a aeth i'r nefoedd, lle y mae efe yn byw bob amser i eiriol trosom*.

*Gof*. A ydyw efe yn cyfryngu am gael o honom y cymmod hwn tra bom yn dal i bechu?

*At*. Nag ydyw, ond yn unig pan beidiom â
Act. 3. 19. phechu, ac *edifarhau, fel y dileer ein pechodau*. Gan hynny na ddisgwylied neb i *Grist* eiriol trosto nes iddo wellhau yn gyntaf.

*Gof*. Pa beth a ddysg ystyried ar offeiriadaeth *Crist* i ni?

*At*. Gobeithio am drugaredd ar ein gwir edifeir-
1 Io. 2. 1, 2. wch: *O pecha neb, y mae i ni eiriolwr gyd â'r Tad, Iesu Grist y cyfiawn*. A chan *fod i ni Offeiriad*
Heb. 10. 21, 22. *mawr ar du Dduw*, nyni a allwn *nesau mewn llawn hyder ffydd*, os unwaith y *glanheir ein calonnau oddi wrth gydwybod ddrwg*. Ac yn gyffredinol efe a ddysg i ni (pa bryd bynnag y bo arnom angen am ffafr ar law Dduw) ofyn yr hyn a fo arnom eisiau trwy *Iesu Grist*, ein cyfryngwr, o law pa un y derbyn Duw ein gweddiau.

*Gof*. Gan fod *Crist* wedi ei enneinio yn *frenin* ar ei eglwys, pa beth y mae hynny yn ei arwyddoccau?

*At*. Dau beth. Yn gyntaf, ei fod yn ei llywodraethu wrth ei gyfreithiau, dan *esgobion a bugeiliaid*. Yn ail, yn ei chadw rhag pob gelynion, dirgel a chyhoedd, drwy ei *yspryd a'i rag-*
Ephes. 1. 22, 23. *luniaeth*: a hynny wrth ei *freiniol awdurdod*. *Efe a'i rhoddes ef yn ben uwchlaw pob peth i'r eglwys, yr hon yw ei gorph ef*. Yr hwn sydd yn eistedd
Sal. 110. 1. megis ymddiffynwr ar ddeheulaw Dduw *hyd oni osodir ei elynion yn faingc i'w draed ef*.

*Gof*.

*Gof.* Mae yn amlwg ei fod ef yn arferu brenhinol awdurdod i'n llywodraethu ni wrth gyfreithiau ysgrythyrol. Eithr a lywodraetha efe yr eglwys trwy ddwylo'r *esgobion* a'r *gweinidogion*, gan eu gwneuthur hwynt yn rhaglawiaid yma ar y ddaear?

*At.* Gwna. Canys gelwir hwynt *ei fugeiliaid ef*, neu lywodraethwyr, sef i *borthi* ac i *reoli*: *Yr hwn wyf yn dywedyd wrth Cyrus, fy mugail yw.* A Duw a ddaeth â *Dafydd i borthi* Jacob *ei bobl, ac* Israel *ei etifeddiaeth* sef i'w rheoli hwynt: *yntef a'u portbodd hwynt yn ol perffeithrwydd ei galon, ac a'u trinodd wrth gyfarwyddyd ei ddwylaw.* Gweinidogion Duw sy tano ef ar y llywodraeth, ar y rhai y mae i ni wrando, gan ufuddhau iddynt yn ei le ef. *Adnabyddwch y rhai sy'n eich llywodraethu chwi yn yr Arglwydd, ac yn eich rhybuddio Ufuddhewch i'ch blaenoriaid, ac ymddarostyngwch: oblegid y maent hwy yn gwilio tros eich eneidiau chwi.* Ephes. 4. 8, 11. Esay 44. 28. Sal. 78. 71, 72. Adn. 72. 1 Thes. 5. 12, 13. Heb. 13. 17.

*Gof.* Pa beth a ddysg hyn i ni?

*At.* Ymddarostwng i'n *hesgobion* a'n *personiaid*, y rhai sy'n gweini trosom ni a than Dduw, megis i *Grist* ei hun, canys ei *raglawiaid* ydynt hwy i reoli'r eglwys. A thra bont hwy yn gwneuthur yn ol ei awdurdod ef, y mae Duw yn ordeinio ac yn barnu, yn rhwymo ac yn dattod, gan lafaru a gweithredu gyd â hwynt fel y mae *brenin* daearol yn rhoddi awdurdod i'w weinidogion. Canys lle y rhoddo'r *brenin* ei gennad a'i awdurdod y mae'r weithred o'r un rym a phed fuasai iddo ef ei gweithredu. Gan hynny, os nyni a'u gwrthodwn hwynt, nyni a wrthodwn *Grist*, ac *ni fynnwn iddo ef deyrnasu arnom.* Y *neb sydd yn eich gwrando chwi, sydd yn fy ngwrando i, a'r neb sydd yn eich dirmygu chwi, sydd yn fy nirmygu i.* Ac felly y mae *S. Paul* yn cyhoeddi wrth rwymo a rhyddhau, *iddo ef faddeu yngolwg Crist:* gan ganmol y *Galatiaid am iddynt ei dderbyn ef megis Crist.* Luc 10. 16. 2 Cor. 2. 10. Gal. 4. 14.

*Gof.* Mewn pa bethau y dangosir yr ymddarostyngiad hwn?

*At* Wrth gyd-uno mewn gweddiau a sacramentau: canys ar y gweinidogion y mae'r galwad i weini yn yr addoliad a'r gwasanaeth. A pha beth bynnag arall, y mae Duw yn ei dderbyn yn yr un modd, oddiwrth ei orchwyl-wyr a'i weinidogion: canys efe a'u galwodd hwynt i ddysgu a cheryddu pechaduriaid, gan eu hannog i ail ymwneuthur am gymmod yr eglwys drwy wir edifeirwch Ac yn ddiweddaf, wrth uno â hwynt ynghyfreithiau ac ordinhadau yr eglwys, pryd na bo iddynt wrthwynebu cyfreithiau *Crist.* Canys ein Harglwydd a'n brenin a roddes gyfreithiau am bob achosion, gan eu hordeinio hwythau i drefnu defodau ac arferion, ac i ofalu am iawn reolaeth a gweddeidd-dra mewn addoliad

1 Cor. 14. 40. gyffredin. *Gwneler pob peth yn weddaidd, ac mewn trefn* yn yr eglwys, Gorchymmyn ydyw hwn i lywodraethu'r eglwys, canys arnynt hwy y mae'r gofal dros wasanaeth Duw ynddi. A phan fyddo iddynt hwy osod rhyw byngciau rhesymmol mewn perthynas i'r pethau hyn, nyni a ddylem gyd-uno

Heb. 13 17. â hwynt. *Ufuddhewch i'ch blaenoriaid, ac ymddarostyngwch: oblegid y maent hwy yn gwilio tros eich eneidiau chwi.*

*Gof.* Ai rhan o'i allu brenhinol ef yw amddiffyn ei eglwys rhag pob gelynion dirgel a chyhoedd?

*At.* Ie. Y mae efe yn gwarchad ei eglwys rhag ei gelynion dirgel *oddi-fewn* drwy ei *yspryd*; a'r rhai cyhoedd *oddi-allan*, drwy ei *ragluniaeth.* Ond ni cheidw hynny mo 'honi rhag ei herlid, ond yn unig rhag ei gorchfygu. Yr addewid yw nad eill *pyrth uffern* (sef gallu *Satan* a'i holl

Mat. 16. 18. arfogaeth) *fyth orchfygu'r* eglwys.

*Gof.* Pa beth a ddichon gwarchodaeth *Crist* ar ei eglwys, ddysgu i ni?

*At.* Ymddiried ynddo ef am achub ein crefydd, a gochelyd pechu wrth ei hachub, er maint y peryglon. Y mae efe yn fwy gofalus am ei eglwys nâ neb o honom ni; efe a wyr pa fodd i'w hachub heb gymmorth ein pechodau ni, na'n gweithredoedd anwireddus. Felly, ym mhob blinder, arferwn ddyledswyddau crefyddol drwy orchymmyn yr eglwys; a byddwn gedyrn dan ei gadwraeth ef.

*Gof.* Os nyni a'i cyfaddefwn ef yn *frenin*, mae yn rhaid i ni ufuddhau i'w gyfreithiau ef tan ei weinidogion, a'n gorchymmyn ein hunain iddo ef, gan wneuthur yn dda?

*At.* Felly y mae yn rhaid.

*Gof.* A fydd neb yn gyfrannog o'i gymmodlondeb ef drwy swydd ei offeiriadaeth ond a gredo, iddo megis ei brophwyd, ac a ufuddhao iddo megis ei arglwydd?

*At.* Na fydd, canys ffydd ac ufudd-dod sydd angenrhaid i'n heddychu ni â Duw; ac ni fwynheir y lles perthynol i'r naill heb haeddu'r lles perthynol i'r llall, ac ymgais â Duw am danynt oll.

*Gof.* Credu yng Nghrist ynte (neu gyfaddef mai'r *Iesu yw y Crist*, yw cyfaddef ei fod ef yn brophwyd ar yr eglwys, drwy wrando ar ei air o enau'r gweinidog; ac yn offeiriad Duw, gan obeithio ynddo ef am gymmod a phob trugareddau eraill; ac yn frenin ar ei eglwys, drwy ufuddhau i'w gyfreithiau a'i swyddogion, a chan wneuthur yn dda; a'n hymddiried ein hunain a'n crefydd tan ei gadwraeth ef yma ar y ddaear?

*At.* Ie.

*Gof.* Pa beth a feddylir wrth hyn sydd yn canlyn yn y *credo*, sef ei fod ef yn *un Mab Duw?*

*At.* Un peth mewn perthynas i nattur: sef i Dduw ei genhedlu ef megis tad ei fab naturiol, yn gyffelyb iddo ei hun; ac y mae efe gan hynny

Philip.2. yn Dduw cystal a dyn. Canys *y mae efe yn ffurf*
1Io 5.20. *Duw: y gwir Dduw. Y Duw bendigedig yn oes*
Rhuf.9.5. *oesoedd:* yr hyn oedd arwyddnod bennodol y gwir
Dduw yn ymadrodd gyffredin yr *Iuddewon;* Y
rhai, pan fyddai i'r offeiriad yn y cyssegr adrodd
enw Duw, attebent hwythau, *bendigedig a fyddo*
*ei enw ef yn dragywydd;* Ac yn gyffredinol, hwy
a'i galwent, *yr un bendigedig;* ac wrth y titlau
Mar. 14. hyn, yn fynych, y pennodir ef yn yr ysgrythyr-
61. au, megis yn *Marc*, ac yn 2 *Cor.* Ac megis
2Cor.11. y mae ef yn gynnysgaeddol o anian nefol, nyni
31. a welwn ei waith ef yn *creu* ac yn *cynnal;* a'r *an-*
Rhuf. 1. *rhydedd* sydd yn perthyn i Dduw, megis *addol-*
25. *iad*, a *gweddiau*, a *bedydd yn enw'r Mab* yn gystal
Io. 1. 3. ac yn *enw'r Tad*, yn briodoliaeth berthynasol iddo
Heb.1.3. ef yn yr ysgrythur lan.
Heb.1.6.
1Cor.1.2. *Gof.* Pa ham yr oedd yn rhaid i'r pryniadwr
Mat. 28. hwn fod yn Dduw?
19.

*At.* Yn gyntaf, er rhoddi haeddiant i'w aberth-
iad ei hun, yr hyn a fawrhaed yn anfeidrol, o
Act. 20. herwydd mai *gwaed Duw* ydoedd ei waed ef.
28. *Pa faint mwy y bydd i waed Crist buro eich cydwy-*
Heb. 9. *bodau chwi, yr hwn trwy'r Yspryd tragywyddol a'i*
14. *hoffrymmodd ei hun?* Ac megis mai yn erbyn Duw
yr oedd eithaf euogrwydd pechod, felly y bydd
raid i'r perffeithiad trwy Dduw fawrhau'r diwyg-
iad. Yn ail, i roddi haeddiant i amryw achosion
eraill, megis i'w allu yn gorchfygu angau, ac yn
ein hachub rhag ein holl elynion ysprydol, i'w
gymmhwyso ef yn farnwr galluog a hynaws ar
yr holl fyd, drwy ganfod y calonnau a'r meddyl-
iau, yr hyn sydd eiddo Duw; i orchymmyn
rhinwedd dda, hyd lle'r oedd modd drwy siampl-
au: Canys y mae yn amlwg ddigon ynddo ef
fod yr holl bethau a ofynir genym ni yn deilwng
i'w harferu gan ei naturiaethau ardderchoccaf ef:
ie, nad ynt hwy lai na'r peth y mae Duw ei hun
yn ei arferu.

*Gof.*

*Gof.* Pa beth arall y mae hyn yn ei arwyddoccau?

*At.* Un peth mewn perthynas i allu Duw: o herwydd efe a gynnysgaeddwyd â phob awdurdod a gallu. Canys Mab Duw sydd yn fynych yn arwyddoccau yr un peth a'r *Crist*, fel un wedi derbyn awdurdod gan Dduw i weithredu yn ei le ef. *Hwn sydd mawr, ac a elwir yn fab y goruchaf, ac iddo y rhydd yr arglwydd Dduw orseddfa ei Dad Dafydd.* Ac yn y modd y mae *Iesu Grist* yn Fab Duw, *canys rhoddwyd iddo bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear; efe a roddes bob awdurdod i'r Mab. Fel yr anrhydeddai pawb y Mab, fel y maent yn anrhydeddu y Tad.* Luc 1.33. Mat. 28. 18. Io 5. 22, 23.

*Gof.* A chan fod yn *Fab Duw* wrth y ddealltwriaeth hon, sef gan dderbyn breiniol allu oddiwrtho ef, y mae yntef yn arglwydd i ni?

*At.* Ydyw mewn perthynas i'w allu ac i'w nattur nefol ei hun, ac o ran ei annhraethol haeddiant am ein prynu; ac o ran ein hammodau gwirfodd a'n haeddiant ninnau. Pob un o'r pyngciau hynny sydd yn ei osod ef yn Arglwydd arnom ni. *Duw a roddes iddo enw yr hwn sydd goruwch pob enw, fel y cyffessai pob tafod fod Iesu Grist yn Arglwydd. I ni y mae un Arglwydd.* Philip. 2. 9—11. 1 Cor. 8.6.

*Gof.* Gan ei fod ef yn Dduw o ran gallu a nattur, ai ni ddylem ni roddi yr addoliad iddo ef, a gweddio arno, ac ymddiried ynddo megis Duw? Philip. 2. 10.

*At.* Dylem. *Fel yn enw Iesu y plygai pob glin. Fel yr anrhydeddai pawb y Mab, felly y maent yn anrhydeddu y Tad.* Hyn a wneir gan bob *Cristion* daionus, a'r *saint* ar y ddaear, y rhai a gysenwir yn *rhai a alwant ar enw'r Arglwydd Iesu Grist*; a hefyd gan y rhai *gogoneddus* yn y nef *y rhai a ganant Haleluiah*, megis i Dduw'r *Tad* felly hefyd *i'r Oen*; a chan yr *angylion* hefyd *canys pan yw yn dwyn y cyntaf-anedig i'r byd, y mae efe yn dywedyd ac addoled holl angylion Duw ef.* Ac nid allai neb Io. 5. 23. 1 Cor. 1. 2. Dat. 5. 11—14. Heb. 1. 6.

dderbyn mo'r cyfryw anrhydedd pe na buasai iddo fod yn Fab Duw o ran nattur yn gystal ac mewn gallu.

*Gof.* Os *Crist* yw ein Harglwydd cyfiawn, yna rhaid i ninnau ewyllysio yr un peth ac yntef, gan gyflawni pa beth bynnag a ordeiniodd efe i ni?

Luc 6.46 *At.* Rhaid. *Pa ham yr ydych yn fy ngalw i Arglwydd, Arglwydd, ac nad ydych yn gwneuthur yr hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd?* Ie, gan mai ef yw ein Harglwydd, a ninnau megis gweinidogion teuluaidd iddo ef, nid rhaid i ni (megis y dywed yntef) mor bod yn *weinidogion dynion*, hynny yw, nid rhaid mor myned cyn belled i'w gwasanaethu hwynt nad allwn ei wasanaethu ef; neu wasanaethu eu pleserau hwynt i fod mewn perygl o dorri ei gyfreithiau ef, neu gydfod â'u harferion hwynt, pan fo'r cyfryw yn wrthwynebus i'w arferion ef, neu gynnal gwenieith er boddio eu meddyliau, megis caethweision

Mat. 6. 24. ofnus. Fe a ddywedodd ein Hiachawdwr na *ddichon neb wasanaethu dau Arglwydd.* Ac medd

1 Cor. 7. 23. S. *Paul, er gwerth y'ch prynwyd, na fyddwch weision dynion.*

Gal. 1. 10. *Canys pe rhyngwn fodd dynion etto, ni byddwn was i Grist.*

*Gof.* Gan mai efe yw ein Harglwydd, ni ddylem ni dybio dim yn rhy wael neu yn rhy chwerw i ni, o'r hyn nis tybiodd efe yn ormod iddo ei hun, eithr ymddarostyngwn fel yntau, gan ei ddilyn o'n gwirfodd i'r lle a'r ffordd yr aeth ef o'n blaenau: oblegid fod yn gywilydd i'r gwas fod yn groen deneuach nâ'i feistr.

*At.* Gwirionedd ydyw: ac wrth hynny, efe a'n cymmell i'r dyledswyddau hynny, y rhai,

Io. 13, 14. oni bai iddo eu dioddef hwynt ei hunan, a gaent eu dirmygu a'u gwrthod genym ni. *Os myfi yn Arglwydd ac yn Athraw, a olchais eich traed chwi, chwithau a ddylech olchi traed eich gilydd.* Os dynion *a'ch difenwant chwi*, byddwch foddlon, canys hwy

hwy a wnaethant yr un peth â minnau; *nid yw'r disgybl yn uwch nâ'i athro, na'r gwas yn uwch nâ'i arglwydd. Y mwyaf yn eich plith chwi bydded megis yr ieuangaf*, gan ymdrechu am fod yn fwyaf gwasanaethgar; *yr wyf i yn eich mysg fel un yn gwasanaethu*. Byddwch *amyneddgar pan erlidiont chwi, gan gofio'r ymadrodd a ddywedais i wrthych, nid yw'r gwas yn fwy nâ'i arglwydd:* Ac felly, ni ddylem ni ymdrechu yn erbyn gostyngeiddrwydd, neu lafur o gariad a gwasanaeth: ïe, na bo i ni rwgnach rhag gwneuthur daioni, neu ddioddef, er mwyn Duw; gan ein bod ni wrth hynny yn dwyn arwydd ein Hiachawdwr: ïe, yn cael ein cyfrif fel yntau, o herwydd ein bod yn dilyn ei lwybrau ef.

Mat. 10. 24, 25.
Luc 22. 26, 27.
Io. 15. 20.

*Gof*. Gan ei fod ef yn arglwydd ar bob meistraid yn gystal a gweinidogion a'i ni ddylem ni arferu gweddeidd-dra a diddigrwydd tuag at ein gweinidogion ac eraill tanom, y rhai, er gwaeled a font yngolwg dynion, etto ydynt o'r un radd iddo ef, a brodyr a chyd-weision i ninnau, mewn perthynas i'w arglwyddiaeth ef arnom?

*At.* Dylai. Yr oedd Duw yn gwarafun i'r *Iuddewon* wneuthur yr un o'u brodyr yn gaethweision, ond eu harferu megis cyd-weision, oblegid mai gweision a fuasent hwythau eu hunain. *Canys fy ngweision i ydynt, y rhai a ddygais allan o dir yr Aipht. Gwnewch i'ch gweision yr hyn sydd gyfiawn ac uniawn, gan wybod fod i chwithau feistr yn y nefoedd*, medd *S. Paul*.

Lef. 25. 42
Colos. 4. 1.

*Gof.* Pa beth yw'r trydydd bann o'r *credo?*

*At. Yr hwn a gaed trwy'r Yspryd Glan, a aned o Fair Forwyn.*

*Gof* Pa ham yr oedd yn rhaid i *Grist* (o ran cenhedliad naturiol) gael ei eni o forwyn? a pha ham yr oedd yn rhaid iddo gael ei genhedlu trwy'r *Yspryd Glan?*

*At*,

*At.* O herwydd mai buddiol oedd iddo ef fod yn ddifrycheulyd o'r groth, ac yn fodlondeb cymmwys am bechodau rhai eraill, gan fod yn
Heb. 7. 26. ddi bechod ei hun. *Canys y cyfryw Arch-offeiriad sanctaidd, diddrwg, dibalog, didoledig oddi wrth bechaduriaid, oedd weddus i ni.*

*Gof.* A oedd *Crist* yn wir ddyn?

*At.* Oedd. Efe a gymmerth arno holl ddiffygiadau ein nattur ni: Canys yr oedd yn newynog, yn flinderog, yn gysgadur, megis yr ŷm ninnau: Ac a gymmerodd ein gwendid, canys ef a wylai; yr oedd efe hefyd yn ofidus, ac yn gythryblus,
Heb. 4. 15. a than ddirfawr syndod; *wedi ei demtio ym mbob peth yr un ffunud a ninnau, yn unig heb bechod.*

*Gof.* Gan ei fod ef yn deimladwy o'n holl wendid ni, ai ni bydd iddo gyd-ddwyn a thosturio wrthym o'u plegid?

Heb. 4. 15. *At.* Bydd: Canys ar hynny y mae'r *apostol* yn dadlu *iddo ef fedru cyd ddioddef â'n gwendid ni.*

*Gof.* Pa ham yr oedd raid i Fab Duw fod yn ddyn i'n prynu ni?

*At.* Er mwyn bod yn gymmwys, yn gyntaf, i heddychu a chymmodi Duw; modd yr ynnillai ddyn yr hyn a gollasai ddyn; ac megis trwy ei ufudd-dod y gallai efe adferu yr hyn a gollasai
Rhuf. 5. 19. anufudd-dod. *Oblegid megis trwy anufudd-dod un dyn y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid, felly trwy*
Heb. 2. 14. *ufudd-dod un, y gwneir llawer yn gyfiawn. A chan ein bod yn gyfrannogion o gig a gwaed, yntau hefyd a fu gyfrannog o'r un pethau, fel trwy farwolaeth y dinystriai efe yr hwn oedd a nerth marwolaeth ganddo, hwnnw oedd Diafol.* Yn ail, i fod yn llariaidd a thosturus tuag attom; yn gyfryngwr trosom; ac i gyd-ddwyn â'n gwendid ni. *Am ba achos y dylai efe ym mbob peth fod yn gyffelyb i'w frodyr, fel*
Heb. 2. 17. *y byddai drugarog, ac Arch-offeiriad ffyddlon.*

Gof.

*Gof.* Pa ham yr oedd ei ddyfodiad yn ddyn yn angenrhaid i roddi iddo deimlad o'n gwendid ni? ai nid oedd efe yn Dduw o'r blaen? Ai ni wyr Duw, yr hwn a wnaeth ein cyrph ni (yn well nâ ni ein hunain) oddi wrth ein gwendid?

*At.* Gwyr. Ond angenrhaid oedd heddychu digofaint Duw, o ran nid oedd bosibl i Dduw mor ddioddef, gan hynny yr oedd yn rhaid i ddyn ddioddef tros ddynion; ac ufudd-dod oedd gymmhwysaf i ddiwygio anufudd-dod dyn; a charediccach i ni ddynion ei fod ef (yr hwn a roddai gyfreithiau i ni, ac sydd i'n barnu yn y diwedd) yn ddyn fel ninnau; ac angenrhaid i eiriolwr dros ddynion fod yn ddyn; ac fel y byddai i'w Dduwdod yr hon a'n lluniodd ni, yn gystal a'i ddyndod, yr hon sydd yn cyd weithredu â ni, dosturio wrth ddynol wendid: yr oedd yn angenrhaid iddo ef eu hystyried hwynt ynddo ei hun, oblegid y dyn a ddioddefo fwyaf sydd fwyaf teimladwy o wendid.

*Gof.* Pa beth sydd i ni i'w ddysgu o herwydd ymddarostyngiad Mab Duw?

*At.* Bod yn ufudd, a gochelyd dirmygu'r cyflwr gwaelaf a thlottaf, er mwyn yr hwn a fu'n dlawd ei hun. Bod yn hynaws a chydsyniadwy; ac na feddyliem ddim yn rhy wael, trwy'r hyn y gallem wneuthur daioni. Bod yn fodlongar ym mhob cyflwr y drefno Duw i ni, gan dybio bob amser fod y mesur mwyaf o'i gariad a'i dynerwch yn gymmysgedig â'n cyflwr gwaelaf oddi allan, megis y mae yn eglur ei fod ef yn y cyflwr y bu Fab Duw ynddo. Yn ddiweddaf, dibrisio pob anwiredd, megis peth annaturiol i ni, o herwydd i Dduw mor rhyfeddol fawrygu ein nattur ni drwy ei nattur ei hun. Y rhai hyn sy'n angenrhaid i ni eu dysgu a'u harferu, os mynnwn fod yn ddilynwyr iddo ef, *gan ddangos yr un meddwl ynom, yr hwn hefyd oedd yng Nghrist Iesu.* Philip. 2. 3—5.

*Gof.*

*Gof.* Pa ham y rhaid iddo ef fod yn Dduw ac yn ddyn, yn yr un berson ?

*At.* I fod yn gymmwys i swydd *dadleuwr* a *heddychwr* : yr hwn sydd i fyned rhwng Duw a dyn, i wneuthur undeb rhyngthynt. Gan hynny buddiol oedd fod iddo ef garennydd a hawl o bob tu.



PENNOD

## PENNOD II.

# DIODDEFIADAU CRIST.

### Y CYNNHWYSIAD.

*Dioddefiadau Crist, a than bwy. Efe, a Duw'r Tad yn bodloni iddynt. Ei ddioddefaint oedd am ein pechodau ni, i'n cadw ni rhag dioddef am danynt, os edifarhawn. Maddeuant wrth edifeirwch, yn dangos amcanion ei fodlondeb, a baeddiant ei farwolaeth. Hynny yn ddawn rad, ac nid fel gwobr am baeddiant, nid chwaith nad yw yn gofyn ammodau. Yr achos pa ham na roddasai Dduw y ddawn hon o faddeuant i'r edifeiriol heb i Grist farw er bodlondeb trostynt. Y modd yr oedd ei farwolaeth ef yn bodloni Duw mewn pob amcanion, yn llawn gystal a phed fuasai iddynt hwy feirw eu hunain. Aberth Crist i'w aberthu ond unwaith, eithr i'w adgofio bob amser. Amryw foddion o leshaad oddi wrth farw o Grist trosom. Corph marw Crist a gladdwyd. Ynghylch ei ddisgyniad ef i uffern.*

### Y Bennod yn canlyn.

*Gofyn.* PA beth yw'r pedwerydd bann o'r *credo?*

*At. A ddioddefodd tan Bontius Pilatus, a groeshoeliwyd, a fu farw ac a gladdwyd; a ddisgynodd i uffern.*

*Gof.* Pa beth a ddioddefodd *Crist*.

*At.* Nid yn unig y dioddefiadau cyntaf yn yr *ardd*, lle yr oedd digofaint Duw yn cael ei ddangos

os mor nerthol; ac uffern wedi ei gollwng yn
Mat. 26. rhydd arno, dan yr hyn y dywedir iddo *drîstau*
37, 38. *hyd angau*, a syrthio *mewn ing*, *gan chwysu defnyn-*
Luc 22. *au mawr o waed*; eithr ar ol ei ddal, efe a ddio-
44. ddefodd bob math ar greulonder gan y *lliaws* a'r
Mat 27. *filwriaeth*, y rhai a'i *gwatworent ef*; *poerasant*
26,30,31. *arno*, *cernodiasant a ffrangellasant ef*: gosodasant
Ad. 29. am ei ben ef *goron o ddrain* pigog, y rhai ym mhob arlais, fel piccellau, a wanasant ei groen tyner ef; ac o'r diwedd a hoeliasant ei ddwylaw ef a'i draed wrth y groes, yr hon oedd farwolaeth dra llymm a pharhaus: ac i'w gwneuthur yn
Luc 23. fwy gwaradwyddus fyth, crogasant ef *yn y canol*
33. *rhwng dau leidr*.

*Gof.* Pwy oedd wneuthurwyr yr holl greulonder hyn?

*At.* Llywodraethwyr yr *Iuddewon* a'r bobl a wnaethant yr hyn a ellynt. Ond o herwydd na adawsai y *Rhufeiniaid* (y rhai a'u trechasent hwy) iddynt na gallu nac awdurdod, fel y dywedent
Io. 18 31. *i roddi neb i farwolaeth*, hwy a gawsant gan *Bontius Pilat* (rhaglaw y *Rhufeiniaid* ar yr *Iuddewon*) roddi barn arno, gan ei fwrw ef i farwolaeth, yn erbyn ei gydwybod ei hun!

*Gof.* Ai nid oedd *Pilat* yn credu fod *Crist* yn haeddu'r holl bethau hyn?

Mat. 27. *At.* Nag oedd, *canys ef a wyddai mai o gynfigen*
18. *y traddodasent ef*; ac a gyhoeddodd mai *gwr cyf-*
Ad. 24. *iawn* oedd efe; ac mai *er iddo ei hun ei holi*, *na*
Luc 23. 4, *chawsai efe ddim bai arno: na Herod chwaith*, lle'r
14. *anfonasai efe ef* i'w farnu ganddo. Eithr o her-
Ad. 15. wydd eu taerni hwynt, *cyfodwyd cynnwrf*; ac
Mat. 27. yna ef a ymroodd i roddi barn arno er mwyn
24. heddwch iddo ei hun. Ac i *fodloni'r bobl*, y rhai
Marc 15. nid allai mo'u digio.
15.
Luc 23.
23, 24.

*Gof.* Pa ham yr oedd yn rhaid i *Bilat* ofni'r bobl cyn belled a bod i'r cyfryw arswyd diystyr ei fradychu ef i'r fath ddrwg weithred?

*At.*

*At.* Oblegid iddo ladd llawer o'r *Iuddewon*, a'i wneuthur ei hun mor anghariadus a haeddu eu digofaint o ran caledwch ei galon: am yr hyn (drwy achwyniad yr *Iuddewon o Samaria*) efe yn ddisymmwth a symmudwyd, fel y dywed *Josephus* *. Ac ar yr achos hwn, hwy a'i dychrynasant ef ym mhellach, gan fygwth achwyn arno drachefn wrth yr *ymerawdr* eiddigus hwnnw, sef *Tiberius Cæsar*, nad oedd *garedig iddo os gollyngai efe yr Iesu yn rhydd, yr hwn a'i galwai ei hun yn frenin*; yr hyn (meddent hwy) oedd *dywedyd yn erbyn Cæsar*. Io.19.12.

*Gof.* Eithr *Crist* a dystiolaethodd ger bron *Pilat*, mai *brenin ydoedd*, ac mai *er mwyn hynny y daethai efe i'r byd; fel y tystiolaethai efe i'r gwirionedd*. Gan hynny, ai nid oedd yn bryd i *Cæsar* ei ofni ef? Io.18.37.

*At.* Nid oedd achos i hynny, o herwydd yr *Iesu* a gyhoeddodd *nad oedd ei frenhiniaeth ef o'r byd hwn; ac na byddai i'w weision ymdrechu trosto ef*. Ac felly nid oedd efe am gymmeryd dim oddi wrth yr *ymerawdr*, nac am ddywedyd dim yn ei erbyn ef na'i awdurdod. Ond bod ei frenhiniaeth ef yn ysprydol osodedig ynghalonnau dynion, trwy ddisgwyliad am wobrau a chospedigaethau i ddyfod, gan adael *brenhinoedd* daearol i lywodraethu fel yr oeddynt: Megis y deallodd *Pilat* yn dda wrth atteb *Crist*, yr hyn a'i bodlonodd ef, ac a wnaeth iddo ei gyhoeddi ef yn ddieuog. Io.18.36.

*Gof.* Dioddefiadau *Crist* oeddynt echryslon iawn: Eithr ai nid oedd iddo ef (ynghanol ei boenau) esmwythdra mawr drwy gysur ysprydol, megis y rhoddes yntau i'w *ferthyron* ar ei ol, wrth ddioddef?

*At.* Cythruddiad ei feddwl ef, yn wir, oedd fwy nâ chyfyngdra ei gorph, megis pe'r amcanesid iddo ef ddioddef yr eithaf ar a allai nattur ei gynnal.

* Antiquit. l. 18. 5.

Io.12 27. gynnal. *Ei enaid a gynhyrfwyd*; *mewn dirfawr*
Mat. 26. *dristwch*; *gofid a thristwch: trist oedd ei enaid hyd*
37. Marc 14. *angau.* Ac yn y cyfryw ing, wrth ganfod digo-
33. faint Duw, a'r hyn yr oedd ef yn ymdrechu hyd
Mat. 26. oni chymmhellid nattur mewn modd anarferol,
38. gan wneuthur iddo *chwysu megis defnynau o waed!*
Luc 22. Yna, yr oedd mor galed arno a bod yn angenrhaid
44. anfon *angel i'w nerthu.*
Adn. 43. *Gof.* A oedd fodd i *Grist* ochelyd y poenau
hyn pe i mynnasai?
Mat. 26. 53. *At.* Oedd: Canys efe a allasai gael *mwy nâ*
*deuddeg lleng o Angylion* i'w amddiffyn: ond er
mwyn ei bobl, efe, yn ewyllysgar, a ddioddefodd.
*Y mae genyf feddiant i ddodi fy einioes i lawr, ac y*
*mae genyf feddiant i'w chymmeryd hi drachefn, nid*
Io.10.18. *oes neb yn ei dwyn oddiarnaf i, ond myfi sydd yn ei dodi*
*hi i lawr o honof fy hun.*

*Gof.* A oedd Duw'r Tad yn fodlon iddynt hwy wneuthur felly?

*At.* Oedd. Hwy a wnaethant hyn, nid yn unig trwy ei gennad ef, ond trwy ei gyngor nefolaidd hefyd, yn ol ei ragfwriad. Ni chynhyrfodd Duw mo'r *Iuddewon* i'r weithred hon, ond gan eu gadael i ddilyn eu cynfigen a'u malais eu hunain, yr hyn oedd fwy nâ digon i'w gosod ar waith. A phan aethant hwy o honynt eu hunain yn ddigon creulonaidd i'r gwaith, yna efe o'i ddoethineb annherfynol a gyflawnodd yr hen gyttundeb rhyngddo ef a'i Fab, sef gwaith ein prynedigaeth ni. Efe a ddioddefodd yn ol yr
Luc 22. hyn *oedd wedi ei luniaethu.* Efe a *roddwyd* iddynt
22. Act.2.23. hwy *drwy derfynedig gynghor, a rhag-wybodaeth*
Act.4.28. *Duw.* Ni wnaeth *Herod* na *Philat* ond yr hyn a
1 Pedr 1. *ragluniasai law Dduw a'i gynghor ei wneuthur.*
19, 20. *Ac efe oedd yr Oen yr hwn a rag-ordeiniwyd cyn syl-*
*faenu'r byd.* Ei farwolaeth a'i ddyrchafiad, gan
hynny, i fod yn *frenin* a *chynghorwr* ac yn *brynwr*

i mi, oedd hen gyttundeb rhwng ei Dad ac yntau. *Fy Nhad a ordeiniodd* (y gair yw *ommododd* *) *i mi deyrnas*, hynny yw, yn y cyttundeb tragywyddol rhwng ei Dad ac yntau, yr oedd y deyrnas wedi ei haddaw iddo ef megis gwobr am haeddiant. Am hynny y cyfrifir ei weision ef yn rhoddion iddo, megis taliad echwyn. *Efe a'i rhoddes ei hun trostynt hwy:* hynny yw, i'w prynu hwynt. *Eiddot ti oeddynt*, (medd efe wrth ei Dad) *a thi a'i rhoddaist i mi*, hynny oedd, megis teilyngdod neu gydnabod iddo. Tit 2. 14. Io. 17. 4, 6.

*Gof*. Ond gan fod yr hyn a ddioddefodd efe yn waradwydd a gofid, pa ham yr oedd raid i *Grist* ymddarostwng iddynt, neu pa ham y bu i Dduw ddwyn *Crist* i'r fath ddiben? ai am ei bechodau ei hunan?

*At*. Nag ê: *ni wnaeth efe bechod, Efe a demtiwyd ym mhob peth yr un ffunud â ninnau, etto heb bechod*. 1 Pedr 2. 22. Heb. 4. 15.

*Gof*. Am bechod pwy ynte? *canys cyflog pechod yw marwolaeth?* Rhuf. 6. 23.

*At*. Am ein pechodau ni: canys nyni a bechasom, ac a oeddem i gyd i feirw. Eithr efe a ddaeth trwy gennad, ac a gymmerth ein hanwireddau ni gan farw trosom. *Yr Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd. Efe a brofodd farwolaeth tros bob dyn. Efe a fu farw am ein pechodau ni. Efe a roddes ei enaid yn aberth dros bechod*. Esay 53. 6. Heb. 2. 9. 1 Cor. 15. 3.

*Gof*. Pa faint gwell ydym ni er iddo ef farw tros ein pechodau? Esay 53. 5, 10.

*At*. Llawer gwell ym mhob modd: ond yn bennodol, ei farwolaeth ef a'n hachub ni rhag marw ein hunain, os gwir edifarhawn am danynt. *Efe a'n llwyr brynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur ei hun yn felldith trosom*, hynny yw, a ddioddefodd farwolaeth felldigedig *trosom ni. Efe a'n rhyddhaodd ni* oddi wrth farwolaeth, gan Gal 3 13. 2 Cor. 5. 21. 1 Tim. 2, 6.



* διέθετο. Luc 22. 29.

gan *farw trosom*; o herwydd pa ham y gelwir ef yn *achubwr*, ac yn *bridwerth* i ni.

*Gof.* Ai ni phrynodd ei farwolaeth ef mo honom ni oddi wrth y gosp am bechodau nes yr edifarhaom am danynt?

Act 3.19. *At.* Na ddo, canys rhaid i ni *edifarhau a dychwelyd, fel y deleer ein pechodau* er ei fwyn ef. A
Heb.5.9. chwedi ei urddo ef i'w allu brenhinol *drwy ei ddioddefaint, efe a wnaethpwyd yn awdur iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhant iddo.*

*Gof.* Os parhau a wna dynion yn anedifeiriol, rhaid iddynt farw am eu pechodau eu hunain ar ol y cwbl?

Luc13.3. *At.* Rhaid. *Onid edifarhewch, chwi a ddifethir oll.*

*Gof.* Gan farw o *Grist* trostynt o'r blaen, ai nid marw ddwywaith am yr un peth ydyw hynny?

*At.* Nag ydyw, canys efe a gynhygiodd farw (a'i farwolaeth ef yn unig oedd gymmeradwy gan Dduw) nid megis cyfnewid gyffredin am bob math ar bechaduriaid, eithr yn unig tros y rhai a ymadawont â'u pechodau, gan edifarhau am da-
Ephes. 5. 2. nynt. Efe a fu farw, yn wir, *dros bob dyn*: eithr efe a fu farw megis eu *haberth*; ac aberthau oeddynt gymmeradwy am drofeddwyr edifeiriol yn unig: megis y dywed Duw wrth yr *Iuddewon*, na ryddheid oddi wrth bechodau trwy aberth, ond
Esa.1.11. y rhai a fyddent edifeiriol. *Beth yw lliosogrwydd eich aberthau i mi?* medd efe wrth y rhai oedd yn
Sal. 51. 17. myned rhagddynt mewn camweddau. *Aberthau Duw ydynt ysbryd drylliedig*; sef, ni thyccia yr aberth y mae Duw yn ei ofyn heb edifeirwch: *calon ddrylliedig O Dduw ni ddirmygi.*

*Gof.* Ai nid oedd ei farwolaeth ef yn fodlondeb am bechodau? Ac os gwnaethpwyd bodlondeb o'r blaen, pa ham y rhaid gwneuthur ychwaneg?

*At.* Yr holl ffrwyth o'i fodlondeb ef a gymmerir o swm y cyttundeb rhwng Duw a'i Fab. Ei farwolaeth

farwolaeth ef, yr hwn oedd wr diniweid, ni thycciasai i'n rhyddhau ni, oni bai weled o Dduw yn dda ei ddwyn ef yn gyfnewidiad yn lle i ni ddioddef. Eithr o'i ran ei hun nid ydyw yn gweithredu dim pellach nâ bod Duw yn fodlonus i'w dderbyn ef. Ac nid oedd y meddwl a'r pwrpas o'r bodlondeb rhwng ei Dad ac yntau yn gyfryw na byddai raid i bechadur atteb am ei bechodau ei hun: ond yn unig na byddai raid i'r edifeiriol mor dioddef.

*Gof.* Pa beth ynte oedd ei haeddiant, neu yr hyn a gafodd efe gan Dduw o herwydd ei farwolaeth?

*Att.* *Gras, a ffafr edifeirwch:* neu os nyni a wir edifarhawn, ni bydd i ni farw trosom ein hunain. Felly y mae *S. Pedr* yn adrodd am y llefhaad hwnnw, yr hyn a dderbyniasai'r *Cenhedloedd* drwy eu dyfod hwy yn *Gristianogion: fe roddes Duw i'r Cenhedloedd hefyd edifeirwch i fywyd.* A thrachefn, Act.11.8. *Hwn a ddyrchafodd Duw â'i ddeheulaw yn dywysog ac yn iachawdwr i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau.* Act.5.31. Gan hynny, haeddiant marwolaeth *Crist* yw maddeuant am ein holl bechodau ar wir edifeirwch, a gras i nerthu ein hedifeirwch.

*Gof.* Ai angenrhaid oedd i ni gael ganddo ef brynu'r gras a'r ffafr hwn o faddeuant er edifeirwch?

*Att.* Ie, canys cyfraith y gweithredoedd (yr hon a'n condemniodd ni oll) oedd, *gwna hyn, a bydd fyw:* nid fel y mae'r efengyl trwy Grist: *un ai gwnewch, ai edifarhewch lle y methoch.* Gan hynny, nid oedd Duw yn rhwymedig o'r blaen i roddi maddeuant i'r edifeiriol, canys yr oedd anrhydeddus rinwedd ei sancteiddrwydd a'i gyfiawnder, a chynhaliaeth ei gyfreithiau, a dirifwch gwirionedd ei fygythion, yn barod oll i wrthsefyll maddeuant. Eithr pan ddaeth *Crist* i farw

yn ein lle ni, ac i dalu ei waed ei hun megis gwerth, er mwyn maddeuant i'r edifeiriol: yna (gan nad yw efe yn gwneuthur hynny heb iawn) efe a ddichon eu pardynu heb wneuthur cam ag yr un o'r priodoliaethau uchod. A dyna ffrwyth y bodlondeb a wnaeth efe trwy haeddedigaeth ei farwolaeth, sef y ffafr o *faddeuant pechodau i'r edifeiriol.*

*Gof.* A oes yr un haeddiant arall na ffrwyth o farwolaeth *Crist?*

*At.* Oes, heb law maddeuant am bechodau a bywyd tragywyddol, efe a haeddodd (fel y dywedais) y gras i iachau pechod, yr hyn yw'r holl hynawsedd a'r ffafr a'r a ddymunodd ac a gafodd efe tu ag at faddeuant am dano.

*Gof.* Os na dderbynir lleshaad ei farwolaeth ef ond dan ammodau, pa fodd y dywedir ein bod ni yn derbyn y cyfryw ffafr yn rhad?

*At.* Nyni allwn gyfrif gras yn rhad mewn dwy ffordd, un megis nad wedi ei rhoddi o ran *baeddiant*, a'r llall o ran na roddwyd ef dan *un math ar ammodau.*

*Gof*, A ydyw gras yn rhad yn ol y rhesswm cyntaf, sef, *heb baeddiant?*

*At.* Ydyw, a hynny yw meddwl yr *ysgrythur* am ras rhad, canys yno, yr un peth yw *gras rhad*, a *gras heb ei haeddu.*

*Gof.* Pa fodd y dangosir hynny?

*At.* O herwydd gras rhad sydd yn wrthwyneb i ymffrost, yr hyn sydd yn dal yn unig o du haedd-
Rhuf. 3. iant. *Nyni a gyfiawnhawyd yn rhad trwy ei ras*
24, 27. *ef, pa le gan hynny y mae gorfoledd? ef a gauwyd*
Ephes. 2. *allan. A thrwy ras yr ydych yn gadwedig, nid o*
8, 9. *weithredoedd*, sef, nid trwy haeddiant un math ar weithred, *fel nad ymffrostiai neb.*

*Gof.* Ped fuasai yr ysgrythur heb ei grybwyll, y mae'n hawdd gwybod nad oeddym ni yn haeddu mor gras hwn, o herwydd nas gallwn ni ddim

ond

ond trwy gymmorth ei yspryd ef; ac nid yw yr hyn a roddom, neu a wnelom iddo ef, amgen nâ dyledus iddo; a phed fai o'n heiddo ni ein hunain, etto ni byddai ond diffygiol a gwaelaidd, a llwyr annheilwng am y cyfryw gymmwynasgarwch. Ond er ein bod ni yn gwbl annheilwng o'r gras hwn, ai ni bu i *Grist* ei haeddu a'i ynnill ef i ni?

*At.* Do, er nad oedd efe yn rhwymedig i ddim: ond o wir ufudd-dod i'r gyfraith, efe a gymmerodd ein nattur ni arno ef ei hun. Yr holl ufudd-dod gostyngedig a ddangosodd efe, un ai yn gwneuthur ai yn dioddef ewyllys Duw, oeddynt gynhygion gwirfodd, gan fod yn gyfiawn berffaith a daionus; ac a dderbyniodd barch annherfynol oddi wrth Dduw-dod ei berson, gan fodloni'r Tad yn ei amcanion pennaf, i'w ogononiant ei hun, ac er iachawdwriaeth dynion. Felly, trwy ei wasanaeth, mor rhad ac ewyllysgar ynddo ei hun, ac mor deilwng o wobr, efe a haeddodd yr holl ras hwnnw, yr hwn er ei fwyn ef, y mae Duw yn ei roddi i ni.

*Gof.* Mae gras yr efengyl, gan hynny yn rhad i ni wrth y rheswm cyntaf, sef heb ei haeddu. Ac hefyd heb ammodau na rhwymedi?

*At.* Nag ydyw. Canys y pwngc pennaf o ras rhad oddi wrth Dduw, ydyw *maddeuant pechodau*, ac *achubol gynnertbwy yr yspryd* a *bywyd tragywyddol.* Y rhai hyn oll a roddir, er nad o ran haeddiant, etto dan ammodau.

*Gof.* A ydyw maddeuant pechodau yn bwngc o'r gras rhad?

*At.* Ydyw, *fe'n cyfiawnhawyd ni*, sef, ein pechodau a faddeuir i ni, *yn rhad trwy ei ras ef: Ac y mae i ni faddeuant pechodau yn ol helaethrwydd ei ras ef.* Rhuf. 3. 24. Ephes. 1. 7.

*Gof.* A'r gras hwn o faddeuant, meddwch, a roddir i ni dan ammodau?

*At.* Ie, dan ammod *gwir edifeirwch.* Canys Act. 3. 19.

Act. 5. 31. *rhaid i ni edifarhau fel y dileer ein pechodau; a Christ a dderchafwyd i fod yn iachawdwr, i roddi edifeirwch a maddeuant pechodau.* A phan anfonodd efe ei *apostolion* i gyhoeddi'r gras hwn, efe a orchymmynodd iddynt *bregethu edifeirwch a maddeuant*
Luc. 24. 47. *pechodau yn ei enw ef, i bob cenedl.*

*Gof. Achubol gynnorthwy Yspryd Duw* sydd hefyd yn rhan ragorol o'i ras, ac a elwir felly yn fynych: A ydyw hyn hefyd dan ammodau?

*At.* Ydyw dan ein gofalon a'n cydsyniad mewn ymdrech. Canys er y dichon i gynhyrfiad cyntaf yr yspryd rwystro mewn amcanion, etto, parhaad y cyfryw ar ein calonnau, a'u lliosowgrwydd mewn perthynas achubol (yr hyn a lywodraetha ein bywyd, ac a'n ceidw rhag profedigaethau) sydd yn gorwedd ar ein cyd-ymroad ein hunain.
Mat. 25. Canys *i bob un y mae ganddo*, sef a helaetho yr
25, 29. hyn a gaffo gan Dduw, *y rhoddir, ac efe a gaiff helaethrwydd: eithr oddiar yr hwn nid oes ganddo*, sef na wnelo'r goreu o honynt, megis y gwas difraw hwnnw, *yr hwn a aeth ac a guddiodd ei dalent, y dygir oddiarno, ie yr hyn sydd ganddo.* A phan y mae
Phil. 2. *S. Paul* yn dywedyd i ni, *Duw yw'r hwn sydd yn*
12, 13. *gweithredu ynoch ewyllysio a gweithredu*, y mae yn dywedyd hefyd y bydd raid i ni, *weithio allan ein hiachawdwriaeth* ein hunain.

*Gof.* A ydyw bywyd tragywyddol yn rhan arall o'r gras rhad hwnnw?

*At.* Ydyw, canys hon yw y rhan bennaf o'r
Rhuf. 6. cwbl. Fe a'i gelwir hi yn *ddawn Duw*, a *dawn*
23. *drwy ras.*
Rhuf. 5. 15, 16, 18. *Gof.* A roddir hon hefyd dan ammodau?

*At.* Gwneir, dan ammod o'n hufudd-dod i gyfraith Dduw.
Heb. 5. 9. *Ac wedi ei berffeithio, efe a wnaethpwyd yn awdur iachawdwriaeth dragywyddol, i'r*
Dat. 22. *rhai oll a ufuddhant iddo: a gwyn eu byd y rhai sydd*
14. *yn gwneuthur ei orchymynion ef, fel y byddo iddynt fraint ym mhren y bywyd.*

*Gof.*

*Gof.* Mae'r gras sydd i ni drwy farwolaeth *Crist* ynte yn rhad, sef heb gyfri'r haeddiant am dano, ond etto dan ammod?

*At.* Ydyw yn wir. Ac y mae hyn yn amlwg wrth y modd y mae Duw yn trosglwyddo yr holl ras hwnnw i ni, a hyn drwy'r *cyfammod newydd.* Canys yr hyn a roddir drwy fodd *cyfammodol*, a roddir dan *ammod:* o herwydd y mae rhagor rhwng cyfammodau a rhoddion di rwymedig. Ac yn y modd hyn y rhoddir lleshaad yr *efengyl* i ni. Canys er mwyn *Crist* y mae i ni dderbyn maddeuant pechodau, a chynnorthwy yr yspryd, a bywyd tragywyddol, er na bom yn haeddu: eithr nid oes a wnelom â hwynt onid edifarhawn mewn ufudd-dod iddynt.

*Gof.* Wrth hynny nid yw gras *Crist* annogaeth yn y byd i bechu, nac i segura; ac ni bydd i'w farwolaeth ef tros bechodau mo'n hachub rhag marw am danynt ein hunain, onid edifarhawn?

*At.* Diammeu nad yw.

*Gof.* Ond pan edifarhaom gyntaf, nyni a allwn gredu ac ymddiried ein bod ni yn gadwedig?

*At.* Gallwn; a hon yw'r *ffydd yn ei waed ef:* hynny yw, credu yr arbedir ni yn ein bywyd, ac yr unir ni â Duw er mwyn *Crist*. *Duw a osododd Grist yn iawn drwy ffydd yn ei waed ef, trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen.* Ond nid yw'r ffydd hon leshaad i neb tra parhaont i bechu, ac yn ddynion anwireddus, ond yn unig pan ufuddhaont i'w wasanaeth ef. Rhuf. 3. 25.

*Gof.* Mae hynny yn dangos i ni mai pwrpas *Crist* yn marw trosom, oedd ein galw yn ol oddi wrth ein pechodau, i'n gwneuthur yn ddynion sanctaidd a daionus: gan brynu i ni heddwch a ffafr Duw, yn unig i ddangos i ni na byddai'r gwaith yn ofer; a chan ein cefnogi i fyned ym mlaen mewn ufudd-dod?

*At.* Felly yr oedd, *canys efe a'i rhoddes ei hun*

Tit.2 14. *trosom i'n prynu ni oddi wrth bob anwiredd; ac i'n puro iddo ei hun, yn bobl briodol awyddus i weithred-*
1 Pedr 2. *oedd da: yr hwn a ddug ein pechodau ni yn ei gorph*
24. *ar y pren, fel gwedi ein marw i bechod, y byddem byw i gyfiawnder.*

*Gof.* Chwi a ddywedasoch i *Grist* farw er cymmod a bodlondeb am bechodau, modd y byddai i Dduw ein pardynu pan edifarhaem. Eithr pa fodd na thybiasai efe edifeirwch yn ddigon heb bridwerth? neu pa ham na buasai iddo ef bardynu'r edifeiriol heb fod yn rhaid i *Grist* farw?

*At.* O herwydd fod gofyniad y cyfryw iawn yn dangos faint casineb Duw i bechod, yr hyn sydd er anrhydedd a sanctciddrwydd Duw, a'i ofalon am ei gyfreithiau, yr hyn sydd yn cynnal braint uniondeb, ac yn dirymmu'r gobaith o fod yn ddi gerydd am drofeddiadau, yr hyn yw'r gwaharddiad mwyaf rhag troseddu drachefn. Eithr hyn oll a fuasai i'r gwrthwyneb ped fuasai Dduw yn rhy barod i faddeu, gan wneuthur cymmod heb bridwerth, neu heb i *Grist* farw.

*Gof.* Pa fodd y mae'r gofyniad o'r cyfryw fodlondeb yn dangos ei gasineb ef i bechod er anrhydedd i'w sanctciddrwydd?

*At.* O herwydd nad arbedai Dduw mo'r gosp am dano, heb y pridwerth mwyaf; a phan na fynnai efe lai na dialedd am dano, nid arbedai mo'i *Fab* ei hun, yn gymmaint ac nad allai ei gariad ef i'w Fab mor trechu ei gasineb i bechod. Ie, mai gan ystyried haeddedigaethau ei anwyl Fab, y byddai iddo ddychwelyd mewn ffafr â dynion, dan ammod edifeirwch; ond etto gan ddangos ei aruthr gasineb i'w cyn-bechodau, nis derbyn gymmaint a'u gweddiau ganddynt eu hunain. Eithr y mae efe yn gofyn *cyfryngwr* i offrwm ac i weithredu trostynt. Ac ni dderbyn efe neb arall yn y nef nac ar y ddaear i fod yn *ddadleuwr* ond ei anmherfynol ac anwyl garedig Fab yn unig: i ddangos mai er offrwm o honynt yr ystyriaeth-

au mwyaf defosionol, mai etto, o ran digofaint am eu gwaith yn ei gythruddo ef o'r blaen, na bydd iddo ddim a wnel â hwynt trwy gyfryngdod neb ryw yn llai o ran anwylder, nâ'i Fab ei hun.

*Gof.* Pa fodd y dengys fod ei ofalon ef dros ei gyfreithiau, er anrhydedd ei gyfiawnder?

*At.* Oblegid nad attaliai efe mo fygythion y cyfreithiau hyn (y rhai oeddynt iachawdwriaeth holl ddynol-ryw, sef y rhan fwyaf pwysfawr o'i greadigaeth) heb fforffed werthfawr.

*Gof.* Pa fodd y mae hynny yn diddymmu pob gobaith o fod yn ddi gerydd, ac yn gwahardd troseddu rhagllaw?

*At.* Oblegid nad oes gan Dduw yr un mab ychwaneg i farw trosom. A phan erfyniwyd arno ef attal y gospedigaeth am ein pechodau, nis gwnai efe er dim llai cyfnewid. Pan bechodd dyn yn erbyn cyfraith ufudd-dod, Duw a faddeuodd hynny, gan ei dderbyn drachefn i'w ffafr ar ei wir edifeirwch o ran haeddedigaethau marwolaeth ei Fab. Ond os pechir yn erbyn cyfraith yr efengyl hefyd, gan barhau yn anedifeiriol, nid oes gan Dduw fab ond hynny i ddioddef er mwyn iachawdwriaeth.

*Gof.* Felly *Crist* gan ddioddef trosom ni, a iachaodd holl anrhydedd priodoliaethau Duw; ac a gyflawnodd holl amcanion ei farn, yr hyn a fuasai raid i ni ei wneuthur trwy ddioddef trosom ein hunain?

*At.* Felly y gwnaeth efe, ac yn gwbl cystal. O ran cospedigaeth ar Fab Duw (yr hwn oedd ddi bechod) oedd yn dangos fod gan Dduw fwy o gasineb a chwerwach barn i bechod, nag a allasai gospedigaeth ar holl ddynol ryw ddangos, y rhai oeddynt bechaduriaid. Gan hynny, ei farwolaeth ef oedd gyfryw fodlondeb i Dduw dros bechodau yr holl fyd, nid bodlondeb o ran caredigrwydd ac ewyllys da yn unig, eithr bodlondeb

londeb i farn mewn cyflawn daledigaeth. *Crist*, drwy ddioddef unwaith, a eglurodd anrhydedd priodoliaethau Duw, yn gystal a phed fuasai holl ddynol-ryw yn dioddef.

*Gof*. Os oedd marwolaeth a offrymiad *Crist* yn fodlondeb mor gyflawn ar y cyntaf, nid oes ychwaneg i'w dalu; ac nid rhaid gwneuthur iawn drachefn?

*At*. Na raid: Canys, er bod aberthau'r *Iuddewon* i'w hoffrwm drosodd, a throsodd drachefn,
Heb. 9. oblegid eu gwaelder; *Felly yr oeddynt bob blwyddyn*
25. a 10. *yn eu hoffrymmu yn wastadol:* ond offrymiad *Crist*
1, 3. oedd gyflawn a pherffaith o'r dechreuad, ac heb
Heb. 9. adaw dim i'w chwanegu atto. *Nid fel yr offrym-*
25, 26. a *mai efe ei hun yn fynych: canys ag un offrwm y*
10. 14. *perffeithiodd efe hynny drwy ei offrwm ei hun.* Ond er nad oes aberth i'w wneuthur ond hynny, o herwydd nad rhaid; etto, mae'r llefhaad mor newydd a nerthol ac oedd ar y cyntaf, a'i rinwedd mor gymmeradwy mewn *gweddiau*, ac mewn *faccramentau* yn enwedig.

*Gof*. Pa beth a ddysgir i ni wrth fod marwolaeth *Crist* yn bridwerth tros bechod?

*At*. Yn gyntaf, *casau pechod:* oblegid ei fod mor ffiaidd gan Dduw ac na bydd iddo gael ei arbed mewn un dyn: Ie yn oed ei fab ei hun, pan gymmerodd efe bechodau dyn arno, ni chafodd mo'i arbed: pa fodd gan hynny yr arbed
Luc 23. efe nyni ein hunain am ein pechodau. *Os gwnaed*
31. *hyn yn y pren ir, pa beth a wneir yn y crin?* Yn ail, ein rhoddi ein hunain i *wasanaeth Crist*, yr hwn a'n prynodd ni a'i hawl ei hun mor ddrud. Dyna'r hyn lleiaf ar a allwn ni ei wneuthur mewn
1 Cor. 6. barn ac uniondeb. *Er gwerth y prynwyd chwi, gan*
20. *hynny gogoneddwch Dduw yn eich calonnau, ac yn eich yspryd, y rhai fydd eiddo Duw* drwy'r cyfryw ddrud bryniad. Ac os oes genym ond y wreichionen leiaf o gariad a diolchgarwch yn ein calon-

nau,

nau, nid ellwn lai nâ chofio am y cyfryw garedigrwydd rhyfeddol. *Canys y mae Crist yn ein cymmell ni, gan farnu o honom hyn, os bu i Grist farw tros bawb, na byddai i'r rhai byw, fyw mwyach iddynt eu hunain, ond i'r hwn a fu farw trostynt.* 2 Cor. 5. 14, 15.

*Gof.* Ai ni ddylai hyn hefyd ddysgu i ni gredu yn Nuw, gan ymddiried y bydd iddo ef gyflawni yr hyn a addawodd?

*At.* Dylai yn wir, canys nid oes dim a'r a wnelom ni yn ormod am ei gariad ef tuag attom. *Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, ond a'i traddododd ef trosom ni oll, pa wedd gyd ag ef hefyd, na ddyry efe i ni bob peth?* Rhuf. 8. 32.

*Gof.* Ai ni ddylai ei amynedd ef a'i gariad yn ei ddioddefaint, heb *ddifenwi* drachefn, ond *gweddio dros ei elynion*, ddysgu i ninnau ddioddef yn yr un modd, wrth achos?

*At.* Dylai, canys wrth ddioddef yn y modd hyn, heb fygwth, fef, *pan ddifenwyd ni ddifenwodd drachefn, efe a adawodd i ni esampl fel y canlynem ei ol ef:* 1 Pedr 2. 21, 23.

*Gof.* Ai nid allai Dduw, yr hwn a roddes gymmaint o galedfyd a phoenau ar ei anwyl Fab, beri i ni fod yn fwy dioddefgar tan gystuddiau nag y dirnad eraill?

*At.* Gallai: Canys yr amynedd hon a ddengys mai gwael a diystyr yngolwg Duw yw golud a gogoniant bydol; a bod croesau wedi eu trefnu i'r goreu o ddynion. Yr ystyriaeth hon a ddyry addysg i wellhau'r goreu, ac i ddangos y modd i berffeithio Duwioldeb ac i ynnill happusrwydd. *Yr Iesu ei hun, er ei fod yn Fab, a ddysgodd ufudddod, trwy'r pethau a ddioddefodd.* Heb. 5. 8. *Efe a wnaed yn berffaith drwy ei ddioddefaint.* Heb. 2. 10. *Rhaid oedd iddo ef ddioddef, a myned i mewn i'w ogoniant.* Luc 24. 26. *Yr ydym yn ei weled ef o herwydd dioddef marwolaeth, wedi ei goroni â gogoniant ac anrhydedd.* Heb. 2. 9. A chan weled dioddefiadau wedi eu trefnu trwy ragluniaeth, a'u

dioddef-

dioddef er llefhaad, a'u gwobrwyo hefyd ynddo ef, yr *apoſtolion*, gan ddymuno bod yn ddilynwyr iddo, nis grwgnachaſant, eithr, gan ogoneddu yr achos, a oeddynt fodlon i ddioddef fel yntau.

*Gof.* Gan ddangos o honaw ef y cyfryw gariad rhagorol i ni a marw troſom, ai ni ddylai hynny ein gwneuthur ni yn gyfeillion ag ef, a'n dyſgu hefyd i fod yn *gariadus y naill i'r llall*, os mynnwn fod yn ddilynwyr iddo ef?

1Io.4.11. *At.* Dylai: canys *os felly y carodd Duw ni, ninnau hefyd a ddylem garu ein gilydd:* ïe *pan adnabuom*
1Io.3.16. *gariad Duw, oblegid ddodi o honaw ei einioes droſom ni: ninnau hefyd a ddylem ddodi ein heinioes tros y brodyr.*

*Gof.* Dywedir yn y *credo*, *ei farw ef a'i gladdu?* A gladdwyd *corph Criſt* ar ol ei gymmeryd oddi ar y groes?

*At.* Do, ef a roddwyd mewn bedd; a threiglwyd maen mawr at enau'r bedd, yn ol arfer yr
Mat. 27. *Iuddewon.* A *rhag dyfod o'i ddyſgyblion o hyd*
64, 66. *nos, a'i ladratta ef, pennaethiaid yr Iuddewon*, ar ol iddynt *ſelio'r maen*, a gawſant *wiliadwriaeth gan y rhaglaw, i gadw'r bedd yn ddiogel.*

*Gof.* Pa beth a feddylir wrth i *Griſt ddiſgyn i uffern?*

*At.* Dim amgen nag aros o hono ynghyflwr marwolaeth: neu fod ei enaid ef yn yr un lle â'r eneidiau diniweid eraill a neilltuwyd, nes yr un-
Act. 2.27. wyd ef *gorph ac enaid* yn ei adgyfodiad, megis y
Adn. 30, mae yn ſgrifennedig, *ni adewi fy enaid yn uffern.*
31. Yr hyn medd *S. Pedr* a gyflawnwyd pan *adgyfodwyd Criſt:* ïe pan ddaeth efe oddi tan allu *marwolaeth*, gan gyfodi yn ogoneddus *i fuddugoliaethu droſto.*

*Gof.* A ydyw'r gair *uffern* yn arwyddo cyflwr y marw yn unig, ynte lle i eneidiau y rhai meirw?

*At.* Y mae *Dafydd* yn dywedyd am bob dyn,
Sal 89. *Pa wr a fydd byw, ac ni wel farwolaeth? a wared*
48.

*efe*

*efe ei enaid o law'r * bedd?* A *Jacob* hefyd oedd
yn fon am *ddifgyn i'r ‡ bedd at Jofeph* pan feddyl-
iodd i *ryw fwyft-fil drwg ei larpio ef.* Ym mhob
un o'r lleoedd hyn, y gair a gyfieithiwyd y *bedd*
yn ein llyfrau ni, a elwir *hades* yn y groeg, yr
hwn air fydd yn fefyll am *uffern* yn y credo. A
mynych yn y *teftament newydd*, y mae'r gair *uffern*
yn arwyddo (nid cyflwr y marw yn gyffredinol,
eithr) cyflwr neillduol y rhai *truenus*, a lle'r *gofp-
edigaeth.* Ac wrth hynny, y mae yn annhebygol
ddarfod i *Grift* ddifgyn i uffern (neu le'r gofpedi-
gaeth) ar ol ei farwolaeth, canys ar ei ymadawiad,
efe a ddywedodd wrth y *lleidr* edifeiriol, *heddyw y* Luc 23.
*byddi gyd â mi ym Mharadwys.* 43.

* *Gr. hades.* Gen. 37. 33, 35.
‡ *Gr. hades.*



PENNOD

## PENNOD III.

## ADGYFODIAD CRIST, a'i eisteddiad ar Ddeheulaw DDUW.

### Y CYNHWYSIAD.

*Y modd y bu i Grist aros dri diwrnod yn y ddaear. Prawf o'i adgyfodiad. Y prawf hwn yn angenrhaid. Yn esgyn i'r nef. Y tyb am ei eisteddiad ar ddeheulaw Dduw. Yno y mae efe, yn gyntaf, yn cyfryngu trosom, megis ein hoffeiriad. Y cyfryngdod hwn, nid trwy ddull ymadrodd, ond gan ei gynnyrchu ei hun, a'i haeddedigol aberth. Efe a gyfrynga am drugareddau cyfammodol yn unig, a hen ammodau. Y mae efe yn gyfryngwr a llawn awdurdod gyd â Duw, a'i serch yn gywir i ninnau. Un rhan o'i gyfryngiad ef, yw cyflwyno ein gweddiau at Dduw. Gan hynny, pan fo i ni weddio am ryw rodd neu ffafr ar law Dduw, ein callineb ni ydyw ymwneuthur at Grist. Yn ail, y mae efe yn rheoli ei eglwys megis brenin arni. Ym mha weithredoedd y mae hyn yn ymddangos. Yn drydydd, yn athrawiaethu ei eglwys megis prophwyd, gan anfon ei* Yspryd Glan *iddi. Crist yr awr hon wedi sefydlu ei drigfan ar ddeheulaw Dduw; nad ydym ni i ddisgwyl cael ei gorphorol bresennoldeb, eithr ei Lan Yspryd yn unig. Rhai pyngciau perthynol i eisteddiad Crist ar ddeheulaw Dduw.*

Y Bennod yn canlyn.

*Gofyn.* PA hyd yr arhosodd *Iesu Grist* dan gyflwr marwolaeth? ai tan na lygrodd ei gorph ef?

Act. 13. 35—37. *At.* Nag e. *Ni adawodd Duw i'w sanct weled llygredigaeth:* eithr ail unwyd ei enaid ef a'i gorph; a Duw

a Duw *a'i cyfododd ef o feirw y trydydd Dydd*, cyn i lygredigaeth gael gwneuthur ei rhan arno.

*Gof.* Eithr *Crist* a ddywedodd am dano ei hun (fel y dywedai'r *Iuddewon* wrth *Pilat*) mai *ar ol* Mat. 27. *tridiau yr adgyfodai efe drachefn*; ac mai *fel y bu* 63. *Jonas dridiau a thairnos ym mol y morfil: felly*, Mat. 12. medd efe, *y bydd Mab y dyn dridiau a thairnos yng* 40. *nghalon y ddaear.* Ond os bu efe farw ar *Ddydd gwener*, a chyfodi yn *fore Ddydd sul* ar ol, nid oedd Mar. 16. felly ond darn o ddau ddiwrnod ac un diwrnod 1, 2. cyfan rhyngthynt?

*At.* Mae hynny yn *dridiau*, wrth y cyfrif arferol ym mhob amser, ac yn enwedig wrth y cyfrifon ysgrythyrol. Megis y dywedir am *Lazarus*, Io. 11. 39. iddo ef fod *yn farw bedwar diwrnod*, er bod y pedwerydd dydd (ar yr hwn y cyfododd yr *Iesu* ef) yn un o honynt. Am mai ym mhen *cyflawnder* Luc 2. 21. *wyth niwrnod yr enwaedwyd ar Grist*: eithr dydd ei enedigaeth a dydd ei enwaediad hefyd, oeddynt o fewn y cyfrif. A phob offeiriad yn ol ei ddyddgylch, oedd wedi ei bennodi i † *wasanaethu o flaen yr Arglwydd wyth niwrnod*, er nad oedd yr amser ond o *fore'r naill sabbath i'r llall.* Ac y mae ein 2 Bren. 11. Hiachawdwr (gan adrodd yn fwy manwl ar amseroedd eraill) yn yspysu mai ar y *trydydd dydd*, neu 5, 7. 2 Cron. 23. 4. *o fewn tridiau.* Yr *Iesu* a ddangosodd i'w *ddisgyblion, yr adgyfodai efe ym mhen tridiau.* Mat. 16. 21. *Dinystriwch y Deml hon, ac mewn tridiau yr adgyfodaf hi*, neu Pen. 17. 23. o fewn tridiau, medd yr *Iuddewon*, y rhai mewn Pen. 20. 19. man arall a ddywedent, *ar ol tridiau.* Io 2. 19. Marc 14. 58.

*Gof.* Pa fodd y dangosir ddarfod i *Grist* gyfodi drachefn oddi wrth y meirw?

*At.* Y rhai a edrychasant y bedd a gawsant weled *nad oedd efe yno.*

*Gof.* Pa beth a ddywedai'r wyliadwriaeth, y rhai a roddwyd i'w gadw ef yno?

*At.*

† *Joseph. Antiquit.* l. 7. c. 11.

*At*. Nid oedd ei gyfodiad ef yn ddieithr iddynt
Mat. 28. hwy, *canys pan ddisgynodd yr Angel a'i wynebpryd*
2—4. *fel mellten*, mewn *daeargryn mawr*, *i dreiglo'r maen*
*oddi wrth ddrws y bedd*, *y ceidwaid*, *gan grynu rhag*
Ad. 11. *ofn*, *a aethant megis yn feirw*. Eithr *Pennaethiaid*
12—14. *yr Iuddewon a roddasant arian iddynt am ddywedyd*
*ddyfod ei ddisgyblion o hyd nos*, *a'i ladratta ef a hwy*
*yn cysgu*, yr hyn oedd yn gelwydd angall, yn
profi yn ei erbyn ei hun.

*Gof*. Pa fodd?

*At*. Oblegid os oeddynt yn cysgu, pa fodd y
gwelent hwy neb yn ei ladratta ef, oddigerth idd-
ynt un ai breuddwydio neu ddal eu synhwyrau yn
effro, a'u llygaid yn agored wrth gysgu.

Mat. 28. *Gof*. Ond y *gair hwn* (medd *S. Mathew*) *a dan-*
15. *wyd ym mhlith yr Iuddewon*, *hyd y dydd heddyw*, ac
sydd yn myned am wir gyd â hwynt. Eithr trwy
ba arwyddion eraill y gwneir iddynt goelio gy-
fodi o *Grist*?

*At*. Drwy hanes y rhai hynny a'i gwelsant ac
a fuant yn ymddiddan ag ef ar ol ei adgyfodiad.
Act. 1. 3. Canys efe a ymddangosodd *dros yspaid deugain ni-*
Act. 10. *wrnod i'w Apostolion*; ac i'w bodloni (yn ei wir
41. *gorph* ei hun) efe a *fwyttaodd ac a yfodd gyd â*
Luc 24. *hwynt wedi adgyfodi*. Efe a ymddangosodd i *S. Tho-*
43. Io. 20. *mas*, yr hwn a deimlodd *ôl yr hoelion yn ei ddwylaw*
27, 28. *ef*, ac a roddes *ei law yn ei ystlys* (lle y gwanesid
1 Cor. â'r ffon) cyn iddo gredu. Efe a ymddangosodd
15. 6. *i fwy nâ phum cant brodyr ar unwaith*. I *Stephan*
Act. 7. mewn *gogoniant o'r nef* ar ei ferthyrdod. Ac i
56. Act. 9. *Saul* ar ei droad. A chwedi ei adgyfodiad a'i
3, 4. esgyniad i'r nef, efe a anfonodd ei *Yspryd Glan* ar
ei *ddisgyblion a'i ddilynwyr*, yr hyn sydd yn dangos
ei fod ef, nid yn unig yn fyw etto, eithr mewn
gallu ac awdurdod hefyd.

*Gof*. Yr oedd yr *apostolion* yn dra gofalus am
gadarnhau ei adgyfodiad ef, gan alw yr hwn a
*ordeiniwyd*

*ordeiniwyd o honynt i fod yn apostol, a'i ordeinio ef i* Act. 1.
*fod yn dyst o hynny.* Eithr ai gwir angenrhaid oedd 22.
i *Grist* adgyfodi o feirw?

*At.* Ie, i ddangos fod y ddyled, yr hon y bu efe farw am dani, wedi ei thalu, a bod y fodlondeb yn gymmeradwy. Efe a fu farw megis aberth bodlondeb am ein pechodau ni; ac nes i Dduw ei gyfodi ef drachefn, nis gwybuwyd ei fod yn derbyn yr hyn a wnaethai *Grist* drosom ni. *Os* 1 Cor.
*Crist ni chyfodwyd, yr ydych etto yn eich pechodau.* 15. 17.

*Gof.* Ai nid oedd ei farwolaeth ef yn llawn daledigaeth; ac oni ddywed efe, *gorphenwyd* pan Io. 19.
oedd etto ar y *groes?* 30.

*At.* Gwerth y pryniad, yn wir, a gwbl dalwyd y pryd hwnnw: Ond ni roddasai Dduw ddangosiad gyhoeddus, nac un weithred amlwg, i ddangos ein bod ni wedi ein rhyddhau, nes ei gyfodi ef. Ac felly trwy ei adgyfodiad ef y dywedir i
ni gael *ein cyfiawnhau. Efe a draddodwyd dros ein* Rhuf. 4.
*pechodau; ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhau ni. A phwy* 24.
*yw yr hwn fydd yn damnio? Crist yw'r hwn a fu* Rhuf. 8.
*farw, ïe, yn hyttrach a gyfodwyd hefyd.* 34.

*Gof.* A oedd ei adgyfodiad ef yn angenrhaid o ran dim arall?

*At.* Oedd. Yr oedd efe (trwy rinwedd ei farwolaeth) yn *gyfryngwr* i ddadleu rhyngom ni a Duw. Ac yn *achubwr* a *gwaredwr* i ni rhag ein gelynion ysprydol. A buddiol oedd gael gwr byw i waredu fel hyn, canys ni weithredir y cyfryw beth gan un marwol. A chan fod yn angenrhaid iddo gynnal ei barhaus ofalon drosom, mae yn angenrhaid iddo gynnal ein ffydd ni, a'n hyder ynddo ef. Eithr pan fo dynion yn feirw, ni wiw disgwyl na chymmwynas nac achles ganddynt. A phed fai *Grist* o hyd yn y bedd, nid buddiol fyddai i ni roddi hyder arno, na gwneuthur erfynion atto.

*Gof.* A oedd hynny yn angenrhaid o ran dangos mai efe oedd y *Messiah*, ac i gyhoeddi ei grefydd hefyd?

*At.* Oedd, canys yr oedd efe wedi appello i
Mat. 12. 38—40. hynny, megis yn *arwydd*, o'i fod ef yn *brophwyd*.
A chan hynny (yn ol y ffordd a roddasai Dduw
Deut. 18 18, 21, 22. i'r *Iuddewon*, sef *cyflawniad prophwydoliaethau*) efe
a ddangosodd nad gau brophwyd ydoedd. Gan
1 Cor. 15. 14. hynny *os Crist ni chyfododd, mae eich ffydd chwi yn ofer.*

*Gof.* Ei farwolaeth a'i adgyfodiad ef sy'n arwyddo'n eglur anfarwoldeb eneidiau dynol ryw, a bywyd i ddyfod tuhwnt i'r bedd, lle y bydd i Dduw ein gwobrwyo neu ein cospi?

*At.* Felly y mae ini. Canys amlwg yw fod ei enaid ef yn hanfodol o'r meiddu nes yr unwyd hi â'i gorph ym mhen y *trydydd dydd*. Wrth hynny y mae'r enaid mewn hanfod yn gystal allan o'r corph ac o'i fewn: a phan elo'r enaid ymaith, y mae hi yn ebrwydd mewn cyfleustra i roddi cyfrif o'i holl weithredoedd yn y bywyd hwn. Ac
Act. 17. 31. o ran hynny, da y gallai *S. Paul* ddywedyd, i
Dduw *roddi sicrwydd o fywyd tragywyddol, a barn,*
1 Pedr 1. 3, 4. *drwy gyfodi Crist oddiwrth y meirw.* *A S. Pedr,*
*I Dduw ein cenhedlu i obaith Etifeddiaeth dragywyddol, trwy adgyfodiad Crist oddiwrth y meirw.*

*Gof.* Yr ydym yn darllain i amryw eraill gyfodi oddi wrth y meirw. A oedd dim hynodrwydd ar gyfodiad *Crist* yn rhagor i'r rhai hyn?

*At.* Oedd. Canys efe a gyfododd trwy ei allu ei hun, a hwythau a gyfodwyd trwyddo ef: efe oedd y *cyntaf*, a'r *blaenffrwyth* o'r adgyfodiad; ia'r holl fyd, heblaw hynny, nid ynt amgen na
Io. 2. 19, 21. *ffrwyth dilynol* o'i wreiddyn ef. *Dinystriwch y*
*deml hon*, medd efe, *ac mewn tridiau y cyfodaf hi.*
Io. 10. 18. *Myfi sydd yn rhoddi fy einioes i lawr, ac yn ei chymeryd hi drachefn.*
Col 1.18. Dat. 1.5. *Efe yw y cyntaf-anedig oddiwrth y meirw.*

*y meirw. Megis yn Adda y mae pawb yn meirw, felly hefyd yng Nghrist y bywheir pawb. Eithr pob un yn ei drefn ei hun; y blaenffrwyth yw Crist, wedi hynny y rhai ydynt eiddo Crist, yn ei ddyfodiad ef.* 1 Cor.15. 22,23.

*Gof.* Oni chyfododd *Lazarus* o flaen *Crist?* a *merch Jairus*; a *mab y wraig weddw* o Nain; a pha fodd gan hynny y dywedir mai *Crist oedd y cyntaf oddi wrth y meirw?* Io.11.44. Luc 8.55. Luc 7.14, 15.

*At.* Eithr hwy a gyfodasant i feirw drachefn, ond efe oedd y cyntaf a gyfododd i fywyd tragywyddol. *Efe gan gyfodi ni bydd marw mwy: nid arglwyddiaetha Marwolaeth arno.* Rhuf. 6. 9.

*Gof. Crist*, trwy ei adgyfodiad, a gafodd y gogoniant iddo ei hun; yn enwedig y *llawenydd*, am ba un y dywed *S. Paul* iddo *oddef y groes.* Eithr a gafodd efe wrth hynny ddim awdurdod arnom ni? Heb. 12. 2.

*At.* Ei farwolaeth a brynodd iddo iawn allu; a'i adgyfodiad a'i hurddodd ef ag awdurdod arnom ni. *Oblegid, er mwyn hyn y bu i Grist farw, ac yr adgyfododd, ac y bu fyw drachefn hefyd, fel yr arglwyddiaethai ar y meirw a'r byw hefyd.* Rhuf.14. 9. Ac ar ol ei adgyfodiad, medd efe, *rhoddwyd i mi bob awdurdod, yn y nef, ac ar y ddaear.* Mat. 28. 18.

*Gof.* Y mae'r adgyfodiad gan hynny yn rhoddi arnom rwymedigaeth i ufuddhau iddo ef?

*At.* Ydyw, *megis y cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd.* Rhuf.6.4.

*Gof.* Pa hyd yr arhosodd efe ar y ddaear ar ol ei adgyfodiad?

*At.* Dros *ddeugain o ddyddiau, gan ymddiddan, a dywedyd am y pethau a berthynant i deyrnas Dduw.* Act. 1. 3.

*Gof.* I ba le yr aeth efe oddi yma?

*At.* I'r nef, *lle y dyrchafwyd ef i fynu; a chwmwl a'i derbyniodd ef allan o olwg ei holl apostolion. Ac yno y mae efe yn eistedd ar ddeheulaw Dduw.* Act. 1. 9.

*Gof.* Pa beth a ddeallir wrth ei fod ef *yn eistedd ar ddeheulaw Dduw?*

*At.* Ei ddyrchafiad uwch ben pob urddas ac awdurdod ger bron Duw. Deheulaw brenin yw lle mewn ffafr, anrhydedd a bri: megis anrhyd-
1 Bren. 2. 19. edd *Solomon* i *Bathsheba* ei fam: efe a'i *gosodai hi ar ei ddeheulaw.* Cael eistedd yn agos neu ger-bron brenin sydd yn gyfleustra rhagorol i ymddiddan ag ef; ac i fod ar ddeheulaw (yr hon a gyfrifir yn hylawaf i weithredu) yw bod yn agos i gynnyg a derbyn: wrth yr hyn y gellir deall fod eistedd ar ddeheulaw gwr mawr, yn arwydd ffafr ac anrhydedd. Gan hynny, wrth y gair *Crist yn eistedd ar ddeheulaw Dduw* y dangosir ei ardderchog anrhydedd a'i awdurdod ef ger bron Duw: neu eistedd mewn dynol ddull ar y tu deheu i'r orsedd loyw yn y disglair ogoniant hwnnw, sydd yn ddangos rhyw ran ragorol o bresen-
Act. 7. 55. noldeb Duw: megis yr ymddangosodd efe i *Stephan* pan welodd ef *ogoniant Duw, a'r Iesu yn sefyll ar ddeheulaw Dduw.* Neu, ar ddeheulaw'r gogoniant gweledig, drwy'r hwn yr ymddangosodd Duw i *Stephan.* Ac y mae'n debygol mai
Mat. 26. 64. dyna feddwl yr *ysgrythur* wrth *eistedd ar ddeheulaw'r gallu; ac ar ddeheulaw'r mawredd.* Hynny yw,
Heb. 1. 3. ar ddeheulaw'r cyfryw ogoniant neu ymddang-
Ecs. 24. 16, 17. osiad disglair ac ydyw arwyddnod Duw a'i fawredd: Yr hyn weithiau a fynegir drwy *eistedd ar*
Ezec. 1. 27, 28. *ddeheulaw gorseddfaingc Duw:* neu *ar ddeheulaw*
Heb. 12. 2. *gorseddfaingc y mawredd yn y nefoedd.*

*Gof.* Yr oedd yn gyfiawn iddo gael ei ddyrcha-
Heb. 8. 1. fu yno yn wobr am ei ddioddefaint, fel y dywed
Phil. 2. 8, 9. yr *apostol.* Eithr ai i ddwyn rhyw amcanion i ben drosom ni yr aeth efe yno?
Heb. 12. 2. *At.* Ie, canys yno y mae efe yn arferu ei holl swyddau mewn modd ardderchog drosom ni.

*Gof.* Pa beth yw'r swyddau y mae efe yn eu cymmeryd arno trosom ni yno?

At.

*At.* Yn gyntaf, y swydd *gyfryngiad* fel y mae efe yn offeiriad. Canys y mae efe yn sefyll ger bron Duw i eiriol o'n tu ni, ac i dderbyn i ni pa beth bynnag a'r a addawsai Dduw, neu a brynasai *Grist* ganddo ef, neu a fyddai arnom angen am dano. *Aeth Crist i mewn i'r nef ei hun, i ymddangos gerbron Duw trosom ni.* Heb. 9. 24.

*Gof.* A ydyw efe gan hynny yn ymddadleu â Duw, gan eirioli arno ef am yr holl swynhaad yr ym ni yn ei dderbyn oddi wrtho?

*At.* Nid yw efe yn erfyn drwy eiriau, eithr drwy foddion, gan ei gyflwyno ei hun, a dangos ei gorph offrymmedig o flaen Duw. Y mae ef yn cyfryngu gan ei ddangos ei hun. Gan hynny y mae *S. Paul* yn galw ei gyfryngiad yn *ymddarostyngiad ger bron Duw trosom ni.* Heb. 9. 24.

*Gof.* A ydyw'r modd hwnnw mor effeithiol a geiriau?

*At.* Ydyw yn ddi ammeu. *Canys gwaed y taenelliad*, fel y dywed *S. Paul*, nid yw yn unig yn anadlu gweddiau, eithr yn *rhoddi hawl a'gofyniad hefyd*: a hynny o ran addewidion Duw, a'i haeddedigaeth ei hun, yr hyn sydd gyffroad sicer trwy awdurdod a thycciant. Heb. 12. 24.

*Gof.* Ai yn y modd hyn yr oedd yr *archoffeiriad Iuddewaidd* yn cyfryngu?

*At.* Ie, oblegid pan fyddai yn myned i'r cyssegr i eirioli â Duw (ar ol iddo ladd yr aberth) ni orchymynwyd iddo wneuthur dull ymadrodd ac erfyniadau moesgar, eithr dwyn i fewn *waed y bustach*, a'i gyflwyno ef i Dduw, drwy ei *daenellu ar y drugareddfa, ac o flaen y drugareddfa*; yr hon ddangosiad o'r pethau hyn, oedd gadarnach ynddo ei hun, a mwy llesol i ddadleu trostynt nag oedd ymadroddion a gweddiau. Lef. 16. 14, 15.

*Gof.* A fydd i *Grist* fel hyn barhau i gyfryngu trosom, gan ei ddangos ei hun bob amser yn aberth o flaen Duw?

Heb. 7. 25. *At.* Bydd, *gan ei fod ef yn byw bob amser i eiriol trosom*, drwy yr hyn y dichon efe *gwbl iachau y rhai trwyddo ef sy'n dyfod at Dduw*. Gan hynny
Act. 3. 21. *rhaid i'r nefoedd ei dderbyn hyd amseroedd adferiad pob peth*. Yr oedd yn ddigon i'r rhan honno o *offeiriadawl abertbiad* wneuthur pryniant unwaith: eithr y rhan *gyfryngol* (yr hon sydd i ddwyn i lawr y bendithion prynadwy ar bawb mewn pob amseroedd a lleoedd) sydd i weithredu bob munud. Gan hynny y mae yr *Iesu* yn aros ym mhresennoldeb Duw i'w gynnhyrchu ei hun, ac i gyfryngu trosom hyd ddiwedd y byd, yr hwn a bery tra gwelo ef yn orau arferu ei awdurdodawl gyfryngdod, neu fod yn angenrhaid iddo eiriol trosom.

*Gof.* Am ba ryw bethau yr ymofyn ef â Duw, ac y bydd i ni fod mewn sicrwydd am danynt?

*At.* Am yr holl ddoniau a brynodd efe, a'r rhai hynny a addawodd Duw, sef y rhai sy'n gynnwysedig yn y *cyfammod newydd*. Ei gyfryngiad yn haeddiant ei waed, nid yw lai nâ chysylltiad ei haeddedigaeth a'i bryniant. Fel y bu iddo ef ar y cyntaf dywallt ei waed, felly y mae efe yr awrhon yn dangos ei waed er *trugaredd gyfammodol* a *chyttundeb ammodol*: ond nid eiriola efe am gael o neb eu mwynhau mewn modd arall yn y byd.

*Gof.* Gan hynny, nid eiriol efe dros bechaduriaid gwargaledion, ar i Dduw esmwythau tostfwydd ei gyfreithiau tuag attynt: na thros rai difraw, ar fod i Dduw, drwy ei ras anorchfygol, wneuthur erddynt, er llai trafferth iddynt eu hunain, gan nad yw y *cyfammod newydd* yn cynnyg dim maddeuant ond i'r edifeiriol, na gras achubol, ond i'r difrifol?

*At.* Gwir ydyw.

*Gof.* Myfi a welaf wrth hynny, na ddylem edrych ar *Grist ar ddeheulaw Dduw*, megis dadleuwr o un tu, a chwennychai wneuthur o Dduw i ni fwy nâ'r haeddiant; ond yn hytrach yn

gyfryngwr cyfiawn, yn dal uniawn fulw o bob tu: yr hwn fydd mor ofalus am awdurdod ei Dad (trwy warantu iddo ef fod ein hufudd-dod yn ddiffuant) ac ydyw efe am ein hiachawdwriaeth ninnau, wrth ofyn ei drugaredd ef i ni?

*At.* Yn ddiammeu. Gan hynny *rhaid i waed Crist buro ein cydwybod ni oddi wrth weithredoedd meirwon i wasanaethu y Duw byw*, yn gystal a *bod i'r rhai a alwyd, dderbyn yr addewid o fywyd tragywyddol, efe yw cyfryngwr y Testament newydd:* A chan wneuthur ei ddyledfwydd o'r ymddiried, mae'n ddiammeu i ni y bydd iddo ef yn nyfnder ei holl ofalon trofom ni, wneuthur cyfiawnder â Duw, ïe, gan fod yn Fab i Dduw, ac mewn annherfynol garennydd â'u gilydd, ac yn boddio ei Dad yn amgenach nag yr ym ni yn ei foddio ef. Gan hynny pei gellid meddwl ei fod ef yn untuog, nid allem ddisgwyl iddo fod yn fwy gyd â ni nâ chyd â'i Dad ei hun. O herwydd pa ham, na feddyliwn y bydd iddo, yn ei gyfryngiad, ddianrhydeddu Duw i'n boddio ni; ac na ddisgwyliwn iddo wneuthur i ni gymmwynas os byddwn mewn un math ar anufudd-dod tuag atto ef na'i Dad nefol. Heb. 9. 14, 15.

*Gof.* Yn ddiammeu, gan ei fod ef yn anwylaf Fab Duw, nid eill efe lai nâ bod yn gyfryngwr mewn awdurdod mawr?

*At.* Felly y mae efe mewn llawn awdurdod, ac yn ddiball ficer o dderbyn yr hyn a ofyno efe am dano. Canys heblaw ei garennydd, a'i berthynas megis mab, y mae bob amser yn cynnyrchu ei haeddedigaethau ei hun, yr hyn a ddichon ofyn pob math ar ffafr. Ie, o herwydd ei fod yn haeddu, ac yn ymddangos i eiriol ger bron Duw, efe a wnaethpwyd yn *offeiriad brenin*, yn gymmaint ag y gall ganiattau yr hyn a fynno. *Pa beth bynnag a ofynoch yn fy enw i, hynny a wnaf,* Io. 14. 13, 14.

 *fel*

*fel y gogoneddir y Tad yn y Mab: os gofynnwch ddim yn fy enw i, myfi a'i gwnaf.*

*Gof.* Y mae hynny yn dangos mawredd ei lwyddiant ef: a ydyw efe hefyd yn ewyllysgar a pharod i wneud deunydd o'r gallu hwn, gan ymofyn trosom?

*At.* Diammeu ei fod. Canys ei serch ef tuag attom a wnaeth iddo dywallt gwaed ei galon drosom: a chan hynny nis gommedd efe ein gwasanaethu mewn pob modd arall, gan geisio i ni bob math ar fendithion gan y goruchaf Dduw. Efe

Heb. 2. sydd *archoffeiriad ffyddlon mewn pethau yn perthyn*
17. a 4. *i Dduw.* O herwydd pa ham ewyllysgar yw efe
15. i eiriol trosom.

*Gof.* Ai un o'r rhannau neillduol o'i gyfryngdod ef, yw cyflwyno ein gweddiau?

*At.* Hynny oedd swydd yr offeiriad *Iuddewig*. Un rhan o'i offeiriadaeth oedd arogldarthu, yr hyn oedd berarogli gweddiau'r bobl, y rhai medd

Luc 1.10. *S. Luc* (o'u rhan eu hunain) *a weddient o'r tu allan ar awr yr arogldarthiad*, gan gyflwyno eu gweddiau at Dduw ynghyd â'r per-aroglau hynny; lle

Sal. 141. y mae'r *Salmydd* yn erfyn yn y modd hyn, *cyfeirier*
2. *fy ngweddi ger dy fron fel yr arogldarth*; a'r *ffiolau*
Dat. 5.8 *o'r arogldarth* yn y *datguddiad*, medd *S. Ioan*, ydynt *weddiau'r saint.* A dyna'r modd y mae *Crist* yn cyfryngu trosom yn y nef: Canys efe yw yr

Dat. 8.3. angel yn y *datguddiad*, *a safodd ger bron yr allor, a thuser aur ganddo, fel yr offrymmai gyd â gweddiau yr holl saint ar yr allor.* Drwy ei law ef y bydd raid i ni gyflwyno ein holl weddiau; wrth yr hyn

Ephes. 2. y dywedir i ni, *drwyddo ef, gael dyfodfa at y Tad*;
18. ac ynddo ef y mae i ni *hyfdra, a dyfodfa mewn*
Ephes. 3. *hyder.* Ie, oblegid fod ein gweddiau ni tuag atto
12. ef yn ddarostyngedig i ddiffygiadau anwireddus, nid cymmwys yw dyfod o honynt at *Dduw mor sancteiddiol a hwn* drwy law neb arall, eithr yn unig drwy'r hwn sydd ganddo werthfawrowgrwydd

rwydd ei berson i'w ddyrchafu, a haeddedigaeth ei aberthiad i'w roddi yn iawn drostynt.

*Gof.* Gan hynny, mae'n debygol mai pan fo i ni weddio at y Tad galluog, am gael rhyw rodd-iad ganddo, na ddylem wneuthur i ni gyfryngwr arall ond *Crist*. A chan ei fod ef mor alluog yn ei gyfryngiad, ein doethineb a'n gwellhaad yw ymgais ag ef?

*At.* Felly y mae. *Canys efe yw y Dadleuwr gyd â'r Tad. Un Cyfryngwr rhwng Duw a dynion.* 1 Io. 2. 1. 1 Tim. 2. 5.
Ac medd Crist, *pa bethau bynnag a ofynoch i'r Tad yn fy enw i, efe a'i rhydd i chwi.* Yr ym ni mewn Io. 16. 23.
siccrwydd ei fod ef yr awr hon ym mhresennoldeb Duw, i drefnu pob cwyn ger ei fron ef; ond nid oes genym ni mor siccrwydd fod y saint a hun-asant, yno etto; y rhai am a wyddom ni, a allant fod dan y dydd diweddaf, mewn gwaelach lle o ddiddanwch ac esmwythdra. Nid yw'r eneidiau cyfiawn (fel y dangosaf ár ol hyn) yn derbyn eu cyflawn berffeithrwydd tan y dydd diweddaf. Pan ofynom ryw beth trwy *Grist*, nid ym yn gw-neuthur amgen nag y mae Duw yn ei erchi i ni. A thrwy bob rhefswm, nyni a ddylem adael i Dduw ein cyfarwyddo ni pa fodd i geisio ffafr ganddo, o ran mai efe ydyw y rhoddwr: a chan fod ein gweddiau allan o wefusau anwireddus, ac mor ammherffaith, nid allant ddyfod ger bron Duw yn deilwng ac yn bur, ond trwy law ein cyfryngwr; gwaed yr hwn yn unig sydd yn eu puro, ac efe a wna'r goreu o honynt. A chan na thyccia gweddi dda o enau dyn perffaith, heb gyfryngwr; pa fodd y tyccia gweddi dyn pechadur-us hebddo? Yn y modd hyn yr oedd yn rhaid i'r *allor o arogldarth* ym mhlith yr *Iuddewon* (yr hon Ecs. 30.
oedd yn sefyll *o'r tu allan i'r wahanlen o flaen y* 6—8, 10.
*drugareddfa*, i berarogli beunydd, ac i gyflwyno gweddiau'r bobloedd) gael *unwaith yn y flwyddyn ei thaenellu drosodd â gwaed y cymmod*, yr hwn sydd

yn

yn dangos fod yn rhaid i'r moddion o gyflwyno gweddiau gael moddion awdurdodol i'w diwygio hwynt. Ac yn gyfattebol i hynny, mae'r *apostol* yn cyfrif *cyfryngiad Crist*, megis wedi ei uno a'i sylfaenu ar y *gwarediad*.
1 Tim. 2. 5, 6. *Un cyfryngwr rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu: yr hwn a'i rhoddes ei hun yn bridwerth dros bawb.*
1 Io. 2. 1, 2. *Ac o phecha neb, y mae i ni eiriolwr gyd â'r Tad, ac efe yw'r iawn tros ein pechodau.*

*Gof.* Pa ryw amcanion eraill y mae *Crist* yn eu dwyn ym mlaen trosom ni yn y nef?

*At.* Y mae (yn ail) yn gofalu am *lywodraeth ei eglwys*, megis brenin.
1 Pedr 3. 22. *Efe sydd ar ddeheulaw Duw, a'r angylion, a'r awdurdodau, a'r galluoedd wedi eu darostwng iddo;*
Mat. 28. 18. *a phob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear, wedi eu rhoddi iddo.* Yr awdurdod hon a brynodd efe drwy ei farwolaeth; ac efe a gafodd feddiant o honi pan ddaeth efe i'w gofyn yn ei gyfryngdod.

*Gof.* Mewn pa beth y mae yn arferu'r helaethrwydd hyn o awdurdod?

*At.* Gan roddi cyfreithiau i'r eglwys: Canys
Ia. 4. 12. efe yw yr *un gosodwr cyfraith yr hwn a ddichon gadw a cholli.* A chan mai efe ei hun sydd yn gosod cyfreithiau mewn crefydd, fe a fyddai yn drais ar ei uchelfraint fod neb yn llunio iddo ei hun unrhyw addoliad newydd, neu wneuthur llwybr newydd i'r nef o'i ddyfais ei hun. Y mae efe hefyd yn ei hachub hi rhag pob math ar elynion i fewn ac allan, pa un bynnag ai 'r byd ai 'r cnawd,
Sal. 110. 1. ai dynion ai cythreuliaid. Canys *eistedd y mae*
Heb. 10. 12, 13. *efe ar ddeheulaw Duw, nes y gwneir ei elynion yn faingc i'w draed ef.* Ac fe a fydd raid iddo *deyrn-*
1 Cor. 15, 25. *asu hyd na osoder ei elynion tan ei draed* ef. Ac yn ddiweddaf, y mae ef yn barnu'r holl fyd, i dderbyn bob un ei ran dragywyddol wrth ymadael â'r corph; yr hyn y mae ef yn ei berffeithio ar

ddiwedd

ddiwedd y byd. Canys, bellach *nid yw y Tad yn* Io. 5.
*barnu neb, eithr efe a roddes bob barn i'r Mab.* Y 22, 27.
mae hyn yn peri annhraethawl ddiddanwch, i'w
holl weinidogion ffyddlon ef, oblegid fod eu cy-
fryngwr yn farnwr arnynt, yr hwn a brisiodd eu
diddanwch hwynt yn fwy na'i fywyd ei hun. Ac
o'r tu arall, mae yn peri braw dychrynadwy i'w
elynion, *y rhai ni fynnent iddo deyrnasu arnynt.* A'r Luc 19.
awdurdodau hyn y mae yn eu wneuthur trwy ei 27.
*esgobion* a'i *fugeiliaid*; y rhai ydynt swyddogion
ei deyrnas, a rhaglawiaid dano ef yma ar y ddaear.

*Gof.* A oes iddo ef ddim arall i'w wneuthur
trosom ni ar ddeheulaw Dduw, gan ei fod ef yn
frenin arnom?

*At.* Oes, fef *darparu lle i ni*; a phennodi i ni
drigfannoedd breiniol gyd ag ef ei hun. *Myfi a* Io. 14.
*af; ac a barattoaf le i chwi, ac mi a ddeuaf drachefn,* 2, 3.
*ac a'ch cymmeraf chwi attaf fy hun; fel lle yr wyfi,*
*y byddoch chwithau hefyd.* Yr *Adda cyntaf* a gollodd
*baradwys*, a'r *ail Addaf* a'i hynnillodd hi drachefn:
Yr hwn wedi iddo haeddu hyn ar y groes, a esgyn-
odd i'r nef, i urddo ein nattur ni yno, ac i ofyn
yr hyn a brynasai. A chan droi ymaith yr
angel galluog, cleddyf tanllyd yr hwn (ar ol y
cwymp) a osodwyd i gadw'r ffordd rhag ymwthio
o honom yno drwy hyfdra, *gan agoryd teyrnas nef*
*i bawb a gredant.*

*Gof.* Pa beth arall a wnaeth efe trosom ni wedi
myned i'r nefoedd?

*At.* Fel yr oedd ef yn brophwyd, efe a anfon-
odd ei *Yspryd Glan* i hyfforddio ei eglwys yn ei
le ef, ac i fod gyd â ni ar ol ef ei hun: *buddiol* Io. 16. 7.
*yw i chwi fy myned i ymaith: canys onid âf fi, ni ddaw*
*y Diddanydd attoch; eithr os mi a âf, mi a'i han-*
*fonaf ef attoch. Wedi ei ddyrchafu ef trwy ddeheu-* Act. 2. 33.
*law Dduw, ac iddo dderbyn gan y Tad yr addewid*
*o'r Yspryd Glan.* Ac a'i hanfonodd ef hefyd ar

ei

Io. 14. 16. ei apostolion *fel yr arbosai gyd â hwynt yn dragywydd.*

*Gof.* Pa fodd yr oedd i'r *Yspryd Glan* gadw ei le ef?

*At.* Drwy gynnysgaeddu'r *apostolion* â'r cyfryw ddoniau rhyfeddol ac a'u gwnai hwynt mor alluog i helaethu ei grefydd ef ar led y byd, a phed fuasai efe ei hun gyd â hwynt o hyd; a hynny drwy'r cyfryw ras oddi fewn, ag a'u gwnai hwynt yn gymmwys i'r trigfannau hynny a ddarparasai efe iddynt, am y rhai y crybwyllaf ym mhellach yn eu lleoedd perthynasol.

*Gof.* Ai i wneuthur y daioni hwn i'w eglwys yr esgynodd *Crist* i'r nef?

Io. 7. 39. *At.* Ie, *nid oedd yr Yspryd Glan wedi ei roddi, o*
Sal. 68. 18. *herwydd na ogoneddasid yr Iesu etto:* ond *pan ddyrchafodd*
Eph. 4. 8. *i'r uchelder, efe a dderbyniodd roddion i ddynion, fel y preswyliai'r Arglwydd Dduw yn eu plith.*

*Gof.* Gan fod ein Iachawdwr *Crist* wedi esgyn i'r nefoedd, ai nid ydyw ei gorph gogoneddus ef i gymmeryd ei drigfan ar ddeheulaw Dduw?

*At.* Ydyw, megis y dywedodd *S. Pedr* wrth yr
Act. 3. 21. *Iuddewon, yr hwn sydd raid i'r nefoedd ei dderbyn, hyd amseroedd adferiad pob peth.* Ac yna (megis
Act. 1. 11. y dywed yr angel wrth ei apostolion ef) *efe a ddaw felly yn yr un modd ac y gwelsoch ef yn myned i'r nef.*

*Gof.* Os yw ei gorphorol bresennoldeb yn drigiannol ar *ddeheulaw gorseddfaingc Duw yn y nef*, yna nid ydym ni i ddisgwyl mo'i bresennoldeb *ar y ddaear?*

*At.* Nag ydym. Canys am ei gorphorol bre-
Luc 24. 51. sennoldeb, dywedir yn bendant iddo *ymadael â'i*
Io. 16 28. *ddisgyblion:* iddo *ymadael â'r byd*; ac *nad yw efe*
Io. 17. 11. *mwyach yn y byd*; ac mai *er bod y tlodion gyd â ni,*
Mat. 26. 11. *nas gellir ei fwynhau ef bob amser. Tra'r ydym yn*
2 Cor. 5. 6. *gartrefol yn y corph, ein bod ni oddicartref oddiwrth yr Arglwydd:* Ac nad ydym *i fod gyd ag ef nes i ni*
Phil. 1. 23. *ymddattod,*

*ymddattod*, fod ei gorphorol drigfan *yn y nef*, lle Act. 3. 21.
yr erys *hyd amseroedd adferiad pob peth*. Ac oni
bai *esgyn i'r nef* i'w gyrchu, nid oes fodd i'w Rhuf. 10.
*ddwyn ef yn ol* ar y ddaear. A phan ddel efe *i* 6.
*farnu'r byd*, oddi yno y daw ef, drwy gyfnewid-
iad a symmudiad lle, yr hyn a elwir yn *ddisgyniad* 1 Thes.
*o'r nef*. A'i *ddyfodiad ar gymmylau'r nef*. A'r 4. 16.
*saint* a gippir i fynu oddiar y ddaear *i'w gyfarfod* Mat. 26.
*ef yn y cymmylau*. Hyn oll sy'n arwyddo fod ei 64.
gorphorol bresennoldeb ef yn rhwymedig i fod 1 Thes.
ar ddeheulaw Dduw, ac nid yn y byd hwn. 4. 17.
Eithr presennoldeb *Crist* gyd â'i eglwys, sydd
trwy'r *Yspryd Glan*, yr hwn sydd yn gweithredu
yr un effaith ac yn cyfrannu yr un gras, a phed
fai efe ei hun ar y ddaear. Ei *yspryd* yw ei *ddad-* Io. 15.
*leuwr* ef, yr hwn oedd i gymmeryd ei le ef a'i 26.
orchwyl, ac i fod gyd â ni dros yr holl amser y
byddo efe ei hun oddi wrthym. *Efe a erys gyd â* Io. 14.
*chwi yn dragywydd*. Ac y mae efe ei hun yn gweled 16.
fod presennoldeb ei yspryd (o ran perffeithrwydd
rhinwedd ac effaith) yn amgen llesiaad i ni nâ
llawn olwg ar ei berson ef, yr hyn, er y gallai
foddio'r golwg (i'r rhai a'i canfyddent) yn am-
genach, etto nid mor llesol i rinwedd ysprydol:
*buddiol i chwi fy myned i ymaith*, medd efe wrth ei Io. 16. 7.
*ddisgyblion: canys oni af fi, ni ddaw y Diddanydd*
*attoch; eithr os myfi a af, mi a'i hanfonaf ef attoch*.
*Yr Yspryd yw'r hyn sydd yn bywhau, y cnawd nid* Io. 6. 63.
*yw yn llesâu dim*, medd ef dro arall wrth y *Caper-*
*neiaid* camsyniadwy, ynghylch y cyffelyb ragori-
aeth, neu ymrafael oedd yn eu plith ynghylch ei
*bresennoldeb* ef.

*Gof*. Pa beth a ddysgir i ni wrth ddyrchafiad
*Crist* i'w awdurdod brenhinol ar ddeheulaw
Dduw?

*At*. Nyni a ddylem ddysgu rhoddi parch, clod
ac ufudd-dod i'w fawrhydi: oblegid i Dduw ei
ddyrchafu

Phil. 2. 9—11. ddyrchafu ef, *fel y plygai pob glin yn ei enw ef, ac y cyffessai pob tafod fod Iesu Grist yn Arglwydd, er gogoniant i Dduw'r Tad.*

*Gof.* A pha beth a ddysgir oddi wrth ei fod ef yn ddadleuwr mor dosturiol a galluog?

*At.* Dyfod atto ef mewn pob angen ac adfyd, gyd â *llawn hyder ffydd*; gan gredu fod ei hynawsedd ef tuag attom ni, a'i gymmeriad gyd â Duw, yn ddigon i fwynhau pa beth bynnag a'r a fo yn

Heb. 4. 14, 16. angenrhaid neu yn gymmwys i ni. *Gan fod wrth hynny i ni y cyfryw Archoffeiriad mawr, awn yn hyderus at Orseddfaingc y gras fel y derbyniom drugaredd, ac y caffom ras yn gymmorth cyfamserol.* Ond yn fwy pennodol, gan fod i ni gystal gobaith am faddeuant pechodau pan edifarhaom; ac o ras ei

Io. 2. 1, 2. *Lan Yspryd* pan f'om yn ofalus i'w arfer. *O phechasom, y mae i ni eiriolwr gyd â'r Tad, Iesu Grist y*

Rhuf. 8. 34. *cyfiawn, yr hwn yw'r iawn dros ein pechodau: A phwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw'r hwn a fu farw, ie, yn hyttrach, yr hwn a gyfodwyd hefyd; yr hwn hefyd sydd yn erfyn trosom ni.*

*Gof.* Pa beth a ddysgir i ni oddi wrth ei awdurdod ef yn goresgyn ei elynion?

*At.* Ymddiried ynddo ef (fel y dywedais) am ofalu trosom ni a'n heglwys, a pheidio â bod yn ofnus, na gwrando ar ein cymmell i ddrwg arfer o herwydd cyfyngder meddwl: ond credu (er maint y perygl a'r cythryfwl) mai *yr Arglwydd sydd yn teyrnasu*; a'n bod ni a'i holl ffyddloniaid ef, yn gwbl ddiogel tra b'om yn gwneuthur ein dyledswyddau, a thra b'om yn ei ddwylaw ef. Honno yn wir yw'r unig ffordd am sicerwydd presennol, eithr yn enwedig, os digwydd i ni ddioddef o'r achos, hynny a sicrha i ni'r wobr

2 Tim. 2. 11, 12. ddisgwyledig mewn gogoniant. *Gwir yw'r gair: os hyddwn feirw gyd ag ef* i bechod, *hyw fyddwn gyd ag ef* mewn gogoniant *os dioddefwn*, sef os cynhaliwn

haliwn mewn ufudd-dod, a hynny tan ryw drwblaeth a chyfyngdra, *nyni a deyrnaswn gyd ag ef.*

*Gof.* Gan fod *Crist* yr awr hon yn y nef, a ninnau yn proffessu ein gobaith arno, ai ni ddylai hynny beri i ni feddwl yn barchus am y lle gogoneddus y mae ef ynddo, ac am y ffordd i ddyfod atto.

*At.* Dylai'n ddi ammeu. *Os cyfodasoch gyd â Christ, ceisiwch y pethau sydd uchod, lle y mae Crist yn eistedd ar ddeheulaw Dduw.* Col. 3. 1. *Tra'r ydym yn gartrefol yn y corph, yr ydym oddi cartref oddi wrth yr Arglwydd* 2 Cor. 5. 6. *Yn y byd hwn yr ydym yn ddieithriaid a phererinion:* 1 Pedr 2. 11. Eithr y goruchaf Dduw yw ein Tad, ac *Iesu Grist* ar ei ddeheulaw ef, yw ein Harglwydd; A'r *Saint gogoneddus yw ein cyd ddinasyddion:* Ephes. 2. 19. Gan fod fel hyn yn gyd-teulu neu yn gartrefol gyd â Duw, ein hymarweddiad a ddylai fod lle y mae ein cartrefol berthynas, sef *yn y nef, o'r lle yr ydym yn disgwyl yr Arglwydd Iesu.* Philip. 3. 20. *Gan fod ein trysorau ni gyd ag ef yn y nef, yno hefyd y dylai'n calonnau fod.* Mat 6. 21. Felly er nas gallwn (wrth ymdeithio drwy'r byd hwn) lwyr esgeuluso mor pethau sydd yn y byd, er hynny mae yn rhaid i ni bob amser fod yn ofalus, a cheisio'r pethau sydd uchod.



PENNOD

## PENNOD IV.

## Am y Farn i ddyfod.

### Y CYNHWYSIAD.

*Angenrheidrwydd barn i ddyfod. Pob dyn i dderbyn barn, ac a wneir un ai yn ddedwydd ai yn druenus wrth farw. Eithr ni bydd y farn mor gyflawn y pryd hwnnw ac a fydd gwedi. Y farn gyffredinol i fod ar ddiwedd y byd. Yr* Iesu *i fod yn farnwr yno. Pa rai a fernir. Condemnio neb ond am dorri cyfreithiau Duw: Ac nid am bethau gweilion. Barnu dynion, a'u bwrw am eu holl weithredoedd pechadurus mewn perthynas i'w ffrwythau parhaus. Am eu gweithredoedd mwyaf dirgel. A'r cyfryw ddrwg weithredoedd a'r a fyddont wedi eu cuddio tan yr esgusodion teccaf. Gommeddiadau yn cael eu barnu. Esgeuluso chwanegu eu talentau. Geiriau pechadurus. Meddyliau a dymuniadau. Am y rhai hyn oll, ni bydd derbyn wyneb mewn barn, ond uniawndeb a hynawsrwydd, ac nid mewn sarugrwydd. Y barnwr sydd yn barod i ddal sulw ar yr hyn a fyddo o'n tu ni, gan wneuthur ein cyfrif ni i'r fantais oreu ar ein lles. Gan ddeongli tostrwydd y gyfraith yn esmwythach o herwydd hynny. Ac o herwydd gwendid nattur. Ac o ran niweidiau rhaglunaethol, a thrafferthion a phrofedigaethau, ac afiechyd. Am fethiantrwydd tosturus mewn dyledswyddau. Lwfio llawer o ran dedwyddwch, megis nad rhaid i bawb mor bod o'r un berffeithrwydd. Gwobrwyo gweithredoedd da, er eu gwneuthur yn erbyn ewyllys, ïe, er bod ynddynt rai brychau. Ein barnwr ni a*

ddengys

*ddengys yr holl fwyneidd-dra hyn, ac a fynnai i ni feddwl hynny. Gwobrwyo gwyr da, gan ystyried eu rhwystrau. A'r enbydrwydd a'r draul o'u gwasanaeth. Blinderau oddi wrth ragluniaeth, er profi gwyr daionus yn y bywyd hwn. Colledigaeth dynion drwg. Y tan, yr hwn sydd yn poeni, a lysg i fynu i'r byd. At yr hyn y rhoir arferiad neu ystyriaeth ar y farn ddiweddaf.*

## Y Bennod yn canlyn.

*Gofyn.* Y Seithfed bann o'r *credo*, yw, mai, oddiwrth ddeheulaw Dduw y *daw Iesu Grist i farnu'r byw a'r meirw.* Ai angenrhaid yw'r farn ddiweddaf?

*At.* Ie, ar amryw achosion. Yn gyntaf, er mwyn dangos uniawn ragoriaeth dynion a dynion. Y mae llawer o ddynion yn rhagrithwyr, neu yn ddaionus yn y golwg yn unig; ac y mae'r cyfryw yn cael eu cymmeryd yn faint mewn rhai mannau. Eithr Duw (ar y dydd diweddaf) a'u dwg hwynt i'r goleuni, ac a'u gosyd yn dorfeydd neillduol, gan ddidoli *y defaid oddi wrth y geifr.* Yn ail, er amlygu cyfiawnder Duw, yr hwn (dybygid yn y byd yma) sydd yn fynych yn cam osod gwobrwyon a chospedigaethau; gan gystuddio'r cyfiawn, a gwneuthur pechaduriaid yn llwyddiannus: Eithr gwobr y cyfiawn, a chosp yr anwireddus, a wneir yn amlwg y pryd hwnnw. *S. Paul* a ddywedai wrth y *Thessaloniaid*, fod eu dioddefiadau yn y byd hwn (megis gweinidogion Duw) yn arwydd sicer o'u bod i dderbyn gwobrau, ac i weled cosp ar eu herlidwyr; *Yr erlidiau a'r gorthrymderau yr ydych yn eu goddef, yr hyn sydd argoel goleu o gyfiawn farn Duw.* Sef, arwydd a siccrwydd y bydd i Dduw ar ol hyn, egluro cyfiawnder ei farn, gan gospi eu gwrthwynebwyr, a'u gwobrwyo hwythau: *canys cyfiawn yw ger bron Duw, dalu*

Mat. 25. 32.

2 Thes. 1. 4—7.

*cystudd i'r rhai sy yn eich cystuddio chwi, ac i chwithau, y rhai a gystuddir, esmwythdra gyd â ni, yn ymddangosiad yr Arglwydd. A'r dydd hwnnw*, medd yr apostol, *ydyw datguddiad cyfiawn farn Duw, pan*, er y gellid meddwl iddo gyd-ddwyn â hwynt,
Rhuf. 2. 5, 6. *y tal Duw i bob un yn ol ei weithredoedd.* Yn drydydd, er diwygio holl gamsyniadau dynol farn. Mae pob dadleudy daearol dan law Dduw, yr hwn yw pennaeth pob barn, ac ymddiffynnwr y cam ddioddefwr a'r gwirion. Gan hynny, os bydd i farnwyr daearol (trwy lygredigaeth, neu gam ddealltwriaeth) gondemnio'r gwirion, y barnwr cyfiawn, gan ddattroi'r amryfusedd, a'i gwna yn gyhoeddus i'r byd. Yn bedwerydd, o ran cynhaliaeth crefydd, cefnogiad yr hon, nid yw
Heb. 11. 6. yn gyflawn, heb obaith am wobr i ddyfod. *Rhaid i'r neb sydd yn dyfod at Dduw* mewn crefydd, *credu ei fod ef yn wobrwywr i'r rhai sydd yn ei geisio.*
Adn. 26. Moses, a'r tadau eraill, a wasanaethent Dduw *o wir barch i'r cyflog a'r gwobr.* Ac nid oedd y gwobr hwn yn y byd yma chwaith, eithr yn y byd
Adn. 13, 14, 16. a ddaw. *Hwy a fuant feirw heb dderbyn yr addewidion, eithr o hirbell eu gweled hwynt, gan gyfaddef mai dieithriaid a phererinion oeddynt yma, yn edrych am well gwlad.* Felly yr aethant hwy yn grefyddol wrth ddisgwyl am farn i ddyfod, a gwobr i'r sawl a'i haeddo.

*Gof.* Wrth hynny, fe eill dyn wybod, mai cymmwys ac angenrheidiol i Dduw wneuthur barn: eithr ai gwir ydyw y daw hynny i ben?

Act. 17. 31. *Att.* Ie. *Efe a roddes sicrwydd i'r holl fyd y barna efe y byd mewn cyfiawnder, drwy Iesu Grist, o herwydd iddo ei gyfodi ef oddi wrth y meirw.*

*Gof.* Pa fodd y mae efe yn sicrhau hynny?

*Att.* Yn gyntaf, drwy ddarfod iddo wobrwyo teilyngdod *Crist* am ei weithredoedd a'i ddioddefiadau erddo ef yn y byd hwn. Yn ail, wrth fod Duw yn cyfaddef ac yn cyhoeddi ei dystiolaeth a'i athrawiaeth

athrawiaeth ef, yr hyn sydd yn nodi'r farn i ddyfod yn brif ran o hynny.

*Gof.* Pa bryd y bydd y farn honno?

*Att.* Ar ddiwedd y byd, pan na bo dyddiau llafur na phrawf mwyach, ond o dderbyn haeddiant mewn un ai gwobr ai cosp.

*Gof.* Os ydyw'r farn honno mor bell ar ol, ni bydd ar ddynion ond llai o'i harswyd, o herwydd na bydd neb yn ofni mor cymmaint ar y perygl a fyddo ennyd oddi wrthynt: megis yn wir y mae pob peth mawr yn edrych yn fychan o bell; a phob peth bychan megis yn ddim. Eithr a fernir neb cyn diwedd y byd?

*Att.* Bernir: Pob dyn yn bennodol a dderbyn farn wrth ei farwolaeth, un ai i ddedwyddwch ai i drueni. Eithr y dydd mawr hwnnw y bernir yr holl fyd yn gyffredinol.

*Gof.* Gan fod i ddyn gael ei farnu ar y farn *gyntaf* honno, a chyhyd amser rhwng hi a'r *ail*, ai ni ddichon ef gael amser i wneuthur ei heddwch, ac un ai gan wneuthur ai dioddef ei hun (ai drwy ddiwydrwydd ei gyfneseifiaid, gan aberthu a gweddio, neu wneuthur elusennau drosto) gael dattroi'r farn, ac esmwythau ei gyflwr, ac iddo ddyfod yn rhydd trwy'r farn ddiweddaf?

*Att.* Na ddichon: Canys rhwng y ddau le o wobr a chosp yn y byd arall, *y sicrhawyd agendor* Luc 16.
*mawr, fel na allo neb dramwy o'r naill i'r llall,* 26.
fel y dywed *Abraham* wrth y *gwr goludog* yn ei boenau. Nid oes yn y bedd nac edifeirwch na chymmod. Pan unwaith y *del y nos*, medd ein Io. 9. 4.
Iachawdwr, *ni ddichon neb weithio. Wele yn awr* 2 Cor. 6.
*yr amser cymmeradwy*, medd S. Paul, *wele yn awr* 2.
*ddydd yr iachawdwriaeth.* Ac ar y dydd diweddaf y bernir dynion, ac *y cant* nid am yr hyn a wnae- 2 Cor. 5.
thant, neu a ddioddefasant er pan ymadawsant 10.
â'r cyrph, ond am yr hyn a wnaethant tra buant yn gwisgo'r cyrph hynny, *roddi cyfrif am bob peth*

 *a'r*

*a'r a wnaethpwyd yn y cyrph.* A'r gweithredoedd hynny nid ynt o'r cyfryw ac a wnair gan eraill trosom ni, eithr y cyfryw ac a roddwyd i ni allu (trwy ras Duw a llesshaad gweddiau) i'w gwneuthur
Gal.6. 4, trosom ein hunain. *Pob dyn a dderbyn am yr hyn*
5. *a wnaethpwyd ganddo, yn ol yr hyn a wnaeth; a phob dyn a gaiff orfoledd ynddo ei hun yn unig, ac nid mewn neb arall:* nid gan hyderu ar weddiau
Ezec. 18. neu haeddiant cymmydogion, *canys pob un a ddwg*
20. *ei faich ei hun.*

*Gof.* Os rhoddir barn mor fuan, nid yw eneidiau dynion da mewn trymgwsg, neu heb wybodaeth, eithr yn hyttrach mewn dedwyddfyd (megis y mae'r lleill mewn adfyd) pan ymadawont gyntaf â'r byd hwn.

Luc 23. *At.* Felly y maent. Canys *heddyw* (medd ein
43. Hiachawdwr wrth y *lleidr edifeiriol*) *y byddi gyd*
Phil.1.21. *â mi ym mharadwys.* *Canys elw yw marwolaeth i mi*, medd *S. Paul.* Eithr amlwg yw nad oedd cyflwr anwybodaeth *elw* yn y byd iddo. A phan
2 Cor. 5. *fyddom oddicartref o'r corph, yr ydym yn gartrefol*
6, 8. *gyd â'r Arglwydd*, lle y mae dedwyddfyd. *A Lazarus, pan fu efe farw a ddygpwyd i fonwes Abraham; A Difes a gyfododd ei olwg yn uffern, lle yr*
Luc 16. *oedd mewn poenau.* Yr hyn oll sy'n arwyddo
22, 23. marwolaeth y cyfiawn yn ddedwydd, a marwolaeth y drygionus yn annedwydd, a hynny, nid i ddyfod, ond yn ebrwydd.

*Gof.* Yr ydych chwi yn son hyn am yr holl rai cyfiawn?

*At.* Ydwyf, canys nid yw'r ysgrythur yn gwneuthur dim rhagoriaeth: *heddyw y byddi gyd â mi ym mharadwys*, medd *Crist* wrth y *lleidr edifeiriol*, er mai pechadur mawr a fuasai hwnnw, ac nad oedd ond newydd edifarhau. A'r ffordd arferol o ddatgan marwolaeth y cyfiawn, oedd, mai

mai *buno* a wnaethent, yr hyn oedd yn arwyddo 1 Cor 15.
esmwythdra a dedwyddwch. Ac yn gyffredinol, 6, 8, 20,
dywedir am y *rhai sy'n marw yn yr Arglwydd*, eu 51.
bod *o hynny allan yn wynfydedig*; a'u bod yn *gor-* 1 Thes. 3.
*phwys oddiwrth eu llafur*: yn gymmaint ac mai'r 13—15.
byd presennol (fel y dywed ein Hiachawdwr Dat. 14.
ynghylch *Lazarus*) yw amser *derbyn adfyd*: ond 13.
bellach, nid archwaethir blinfyd, eithr hwy a Luc 16.
gant esmwythdra yn ebrwydd ar ol eu marwolaeth, 25.
a diddanwch mewn graddau mwy neu lai, yn ol rhagoriaeth eu rhinweddau.

*Gof*. A ydyw diddanwch y naill, a thrueni'r llall mor gyflawn y pryd hwnnw, ac y bydd ar ol y farn ddiweddaf?

*At*. Nag ydyw. Canys eu heneidiau yn unig sy'n ddedwyddol hyd na chyfodir y cyrph, yna y bydd hawddfyd yr holl ddyn yn gyflawn, enaid
a chorph, a hynny yn helaethach. Y perffeith- Luc. 14.
rwydd happus a dderbyniant y farn ddiweddaf a 14.
fydd gyflawn a di derfynol. A chan hynny, fe 2 Thes. 1.
a'i gelwir yn *ddydd eu coronedigaeth*: A hwy a 6, 7.
gyfrifir megis rhai yn dymuno hynny. *Felly y mae'r* 2 Tim. 4.
*eneidiau dan yr allor, y rhai a laddwyd am dystiolaeth* 8.
*yr Iesu* yn gwneuthur yn y *datguddiad*, gan ofyn Dat. 6.
*pa hyd yr oedd efe farnu'r byd*, fel y derbyniont hwy 9—11.
eu *gwobr*, a'u herlidwyr eu *cosp*? Ac felly y mae gyd â'r ysprydion damnedig hefyd, y rhai sydd a'u poenau ar ol. Canys nid yw'r trueni presennol ond prin archwaethiad o'r hyn sy'n digwydd iddynt y dydd diweddaf hwnnw. Felly y dywed-
ir i'r *cythreuliaid fod ynghadw erbyn y dydd mawr*; 2 Pedr 2.
ac nad yw eu cyflwr presennol ond megis carchar 4.
cyn dioddef. A'r *cythreuliaid yn gofyn i Grist a* Jud 6.
*ddaethai efe i'w poeni cyn yr amser?* sy'n Mat. 8.
dangos nad oedd cyflawnder eu poenau hwythau 29.
i fod tan y dydd mawr hwnnw.

*Gof*. Nid yw'r farn wedi farw, ynte, yn debyg

i'r farn ddiweddaf, oblegid mai honno a esyd allan wobr a chosp?

*At.* Nag ydyw, o herwydd y farn honno a fydd yn gyhoeddus arbennig o flaen yr *angylion* a'r holl fyd: Canys yno y bernir angylion yn gystal a dynion.

Luc 12. 8, 9.

*Gof.* Ai nid rhaid i hyn mor bod tan ddiwedd y byd?

*At.* Na raid: canys dyna'r eisteddfod ddiweddaf, ym mha un y mae *Crist* yn rhoddi'r swydd gyfryngdod trosodd: a chan hynny nid yw'r gorpheniad nes y bo diwedd pob peth. Yr holl amser o flaen y farn sydd yn profi dynion, pan y mae *Crist* yn gosod cyfreithiau i'n cyfarwyddo ni, a gras o'n mewn yn gynnorthwy i'w cyflawni. Eithr yr holl amser wedi'r farn, cyflwr taledigaeth yw: sef amser i gyfrannu dedwyddwch a thrueni yn ol yr haeddiant. Ar ol unwaith roddi barn, nid oes le i ddadleu na chyfryngu mwy: Eithr cyflwr newydd o lawenydd neu dristwch a gymmer le gyd â phob dyn o hyn allan. Felly *Crist* wedi iddo gyflawni yr ymddiried ynddo am gyfryngdod, sydd yn rhoddi'r swydd i fynu, a'r *deyrnas i Dduw'r Tad.*

1 Cor. 15. 24.

*Gof.* Chwi a ddywedwch na bydd i'r farn gyffredinol ddyfod tan ddiwedd y byd: A ddarfu i Dduw osod amser pennodol i hynny?

Act. 17. 31.
1 Cor. 15. 23.
1 Thes. 5. 2.
2 Thes. 2. 2.

*At.* Do, efe a *osododd ddiwrnod yn yr hwn y barna efe y byd mewn cyfiawnder*, yr hwn ddiwrnod a elwir *dyfodiad Crist*, a *dydd yr Arglwydd.*

*Gof.* Os edrychir cyflwr pob dyn mor fanwl, gan graffu ar bob gweithred, a gwrando pob dadleuon, fe a fydd hynny yn hwy nâ diwrnod o waith?

*At.* Pwy a wyr pa hyd y pery'r dydd hwnnw? Ni wyddom ni amgen nâ bydd iddo barhau rai misoedd neu flynyddoedd. Canys diwrnod, yn yr ysgrythur,

ysgrythur, nid yw amgen nâ thalm o amser pen-
nodol. Megis y gelwir y *deugain mlynedd o ym-* Heb. 3.
*daith yr Israeliaid yn yr anialwch*, yn *ddydd profed-* 8, 9.
*igaeth*: A'r amser i Dduw *flangellu* â *cheryddu*, Esa. 10. 3.
yn *ddydd yr ymweliad*; Ac amser yr *efengyl* yn *ddydd* 1 Ped. 2.
*iachawdwriaeth*. Gan hynny, nid pedair awr ar 12.
hugain a fydd hŷd dydd y farn, eithr hŷd yr am- 2 Cor. 6.
ser y bo *Crist* yn barnu. 2.

*Gof.* Mae'n debyg fod Duw wedi pennodi'r dydd ynddo ei hun: A oes neb arall a wyr yr amser?

*At.* Nag oes. *Canys am y dydd hwnnw a'r awr,* Mat 24.
*nis gwyr neb, na'r angylion sydd yn y nef, na'r Mab* 36.
*ei hun, ond y Tad yn unig.* Efe a ddaw yn ddi-ar- Marc 13.
wybod i'r byd, ac yn ddisymmwth megis heb ei 32.
ddisgwyl, *fel lleidr yn y nos*, neu *wewyr esgor ar un* 1 Thes. 5.
*a fo beichiog.* 2, 3.

*Gof.* Pwy fydd y barnwr ar y dydd hwnnw?

*At.* *Iesu Grist.* *Duw a farna'r byd mewn cyf-* Act 17.
*iawnder drwy'r gwr a ordeiniodd efe; ac a roddes* 31.
*sicrwydd* o hynny, *o herwydd darfod iddo ei gyfodi ef oddiwrth y meirw.* Efe yn unig a ddichon gymmeryd arno yr ymddiried mawr hwn, o herwydd ei orchwyl a'i awdurdod, yr hon nid all neb ei hammeu, nac appelio oddi wrthi. Dealltwriaeth annherfynol a ddichon chwilio'r calonnau, a datguddio cyflwr pob dyn, a grymmuster eu dadleuon: purdeb nad ellir ei lygru gan wenieth, na'i ogwyddo; a hollalluog awdurdod, modd y dichon ef roddi gwobr a chosp yn ol yr haeddiant. Ac megis mai ef yn unig sydd gymmwys i'r gorchwyl pwysfawr hwn, felly, iddo ef yn unig y mae'r anrhydedd oddi wrtho. Canys pwy fydd gymmwys i eistedd yn farnwr ar dywysogion galluog, yn ddynion ac yn angylion, oddi eithr yr hwn a'u gwnaeth hwynt oll, a than lywodraeth pa un y maent yn bod? yr hwn sydd o ran urddas

yn nesaf i'r Tad, sef Mab Duw ei hun. *Pob barn*
Io. 5. 22, 23. *a roddwyd i'r Mab, fel y maent yn anrhydeddu y Tad.*

*Gof.* Pa rai a fernir ar y dydd hwnnw?

*At.* Yr holl bobl a sont byw ar ei ddyfodiad
2 Cor. 5. 10. ef, ac a fuant feirw o'r blaen. *Canys rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist, fel y derbynio pob un y pethau a wnaethpwyd yn y corph*; yn gyf-
1 Cor. 6. 3. tal angylion a dynion: *oni wyddoch chwi y barnwn ni angylion?* hynny yw, eistedd gyd â *Christ*, gan gyd synniaw ag ef mewn barn yn eu herbyn hwynt.

*Gof.* Pa fodd y profir eu beiau hwynt? a phwy a fydd y tystion?

Dat. 12. 10. *At.* Y *cythreuliaid*, sef *cyhuddwyr y brodyr*: a'r rhai hynny a alwant am farn. Ond yn wir, nid rhaid wrth dystiolaeth *tad y celwydd* y dydd hwnnw: canys cwbl-wybodaeth Duw fydd yn gofrestr a thystiolaeth am holl weithredoedd dynion: *a'r llyfrau a agorir, a bernir y meirw* wrth y *llyfr* didwyll hwnnw, sef ei ddiball goffadwriaeth ef. Ac yn wir, nid rhaid wrth dystion, canys yr euog a gyfaddefa ei fai, ac a dystiolaetha yn ei erbyn ei
Rhuf. 2. 15, 16. hun, *eu cydwybod yn cyd dystiolaethu, a'u meddyliau yn cyhuddo eu gilydd, neu yn esgusodi, yn y dydd y barno Duw ddirgeloedd dynion, yn ol fy Efengyl i, trwy Iesu Grist.*

*Gof.* Ai mewn disgleirdeb a gwychder y bydd hyn oll?

*At.* Ie, mewn cymmaint ac a eill fod. Canys *Crist* a ddaw â'i lys brenhinol o'r nef i lawr, gan ymddangos ar ddeheulaw'r gogoniant, lle y mae efe yn eistedd mewn mawrhydi tra rhagorawl; a'i holl angylion sanctaidd, bob un mewn gloyw-wisg brydferth yn aros y barnwr gogoneddus hwn.
Luc 9. 26. Mat. 25. 23. *Efe a ddaw yn ei ogoniant ei hun, a'r Tad, a'r Angylion sanctaidd.* *Yr Arglwydd ei hun a ddisgyn o'r*
1 Thes. 4. 16. *nef gyd â bloedd, a llef yr Archangel, ac ag udgorn Duw:*

*Duw:* A phan lefo hwnnw, *y rhai oll sydd yn y beddau a glywant ei leferydd ef, ac a ddeuant allan.* Io: 5. 28. 29.
*A bydd adgyfodiad y meirw i'r cyfiawn ac i'r angbyfiawn.* A'r rhai hyn oll a *safant ger bron ei orseddfaingc ef:* ac ar ol chwilio a phrofi pob un yn dêg, *efe a'u didola hwynt oddi wrth eu gilydd* yn ddwy dyrfa, *megis y didola y bugail y defaid oddi wrth y geifr:* Ac yna mewn mawr oruchafiaeth (megis yr arferai'r *Iuddewon* yn eu llysoedd barn, gan osod y rhai a fyddent ddieuog ar y *llaw ddehau*, a'r rhai a fyddent i'w condemnio ar y *llaw aswy*) efe a ddyry farn, gan erchi i'r rhai cyfiawn, *Deuwch chwi fendigedigion fy Nhad etifeddwch y deyrnas a barattowyd i chwi:* eithr wrth y rhai drygionus, efe a ddywed. *Ewch oddiwrthyf rai melltigedig i'r tan tragywyddol.* Act. 24. 15. Mat. 25. 31, 32. 34, 41.

*Gof.* Pa le y bydd yr ymddangosiad gogoneddus hwn?

*At. Yn yr awyr* medd S. Paul: *ar gymmylau'r nef*, medd ein Hiachawdwr. Fe a fydd mewn rhyw fan yn agos i'r ddaear, eithr ym mha fan yn bennodol, nid yw ond ychydig berthynas ymofyn, nac o leshaad er gwybod. 1 Thes. 4. 17. Mat. 26. 64.

*Gof.* A raid i bob plaid fodloni i'r farn a roddo'r ustus mawr hwn?

*At.* Rhaid. Efe yw'r barnwr diweddaf, ar ol yr hwn nid oes le i appelio. Ond yn wir, ni bydd achos mwy: canys pawb a gyd gyfaddefant gyfiawnder ei farn ef. Y rhai cyfiawn (ar ol derbyn eu barn yn gyntaf, a'u galw i fynu i'w gwmpasu ef yn ei amgylch-leoedd gogoneddus) a fawrygant ei farn ar hyd yr amser y bo efe yn barnu'r lleill. *Y saint a farnant y byd*, neu a fyddant megis yn gynnorthwy a chyd-farnwyr ag ef. *A phob anwiredd*, gan ddioddef, *a gau ei safn*, ac a'i cyhoedda ei hun yn euog. *Efe a lwyr gyhoedda y rhai annuwiol o honynt, am weithredoedd eu hannuwioldeb, y rhai a wnaethant mewn annuwioldeb, ac* 1 Cor. 6. 2, 3. Jud. 15.

*am eu holl eiriau caledion y rhai a lafarodd pechaduriaid annuwiol yn ei erbyn ef.*

*Gof.* Am ba bethau y bernir ac y condemnir yn y farn honno?

*At.* Am bob trofeddiad yn erbyn *cyfreithiau'r efengyl,* ac am y rhai hynny yn unig. Ni farn ef neb wrth ei duedd ei hun, ac ni chondemnia efe neb am feiau di waharddedig: eithr cyfreithiau'r efengyl yw ei reol ef wrth farnu pob Cristion.

Rhuf. 2. 16. *Duw a farn ddirgelaedd dynion yn ol fy efengyl i: A'r*
Io. 12. 48. *gair a lefarais i, hwnnw a farn ddynion yn y dydd diweddaf.*

*Gof.* Os nyni a fernir yn unig wrth gyfreithiau Duw, yna diammeu na chondemnir neb o ran pethau di waharddedig yngair Duw, gan nad oes gyfraith yn eu herbyn?

*At.* Diammeu na wnair: nid oes un weithred
Rhuf. 4. 15. yn y rhai hynny a'n condemnia ni. *Canys lle nid oes*
1 Io. 3. 4. *ddeddf nid oes gamwedd. Pob un ac sydd yn gwneu-*
Rhuf. 5. 13. *thur pechod sydd yngwneuthur anghyfraith, oblegid anghyfraith yw pechod:* eithr *ni chyfrifir pechod pryd nad oes ddeddf.* Felly nid rhaid ofni o ran rhyw ymddygiad mewn crefydd, megis arferu rhyw ffurf gweddi, neu benlinio, neu sefyll, neu ryw arferion eraill, y rhai nid ynt waharddedig o fewn addoliad Duw. Nid rhaid atteb ond am dorri'r gyfraith yn unig. Gan hynny nid rhaid i ni ofalu rhag bod ein heneidiau mewn perygl oblegid y cyfryw bethau nad oes gyfraith yn eu herbyn.

*Gof.* Os rhaid i ddynion gael eu cospi am dorri'r gyfraith, diammeu y cospir hwy am eu cam weithredoedd?

2 Cor. 5. 10. *At.* Ie: *canys rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist, fel y derbynio pob un y pethau a wnaethpwyd yn y corph, yn ol yr hyn a wnaeth, pa*
Dat. 20. 13. *un bynnag ai da ai drwg. A'r meirw a fernir bob un yn ol eu gweithredoedd.*

*Gof.*

*Gof.* Gan hynny rhaid inni atteb am holl weithredoedd ein bywyd, a derbyn gwobr am ddaioni, a chosp am ddrygioni?

*At.* Rhaid.

*Gof.* Eithr llawer gweithred a wnair mewn ychydig amser, ac ar ol eu gwneuthur, nyni a feddyliwn ddarfod am danynt: ac etto chwi a ddywedwch fod i ffrwythydd y weithred (pa un bynnag ai da ai drwg a fydd) barhau o hyd mor amlwg a phan weithredwyd hi yn y cyntaf?

*At.* Felly y mae: yn gymmaint ac y gellir cyfrif fod dynion yn parhau i bechu neu i wasanaethu Duw, nid yn unig tra bont byw, ond yn y bedd hefyd.

*Gof.* Pa fodd y gwnair hynny mewn gweithredoedd da?

*At.* Os bydd i ddyn allu troi dynion at Dduw, y ffrwythau da hynny a barhaant yn glod iddo ef yn y bedd: Os bydd iddo ymddiffyn y gwirionedd, neu roddi cyngor a dangos siampl dda; y gwirionedd nid anghofir, a'r siampl dda a ddichon gael ei dynwared pan fytho efe yn y bedd. Os bydd iddo wellhau ar eglwysi, adeiladu elusendai, neu'r cyfryw; ei dduwioldeb a fydd byw pan fyddo efe yn farwol: efe yn wir, a ddichon wneuthur daioni hyd ddiwedd y byd. Ac am y gweithredoedd hynny, a'r cyfryw barhaus ddaioni, nyni allwn ddywedyd fel y dywed *S. Paul* am *ffydd Abel* (i'r hwn y rhoddes Duw ei dystiolaeth) mai *drwy ffydd yr oedd efe wedi ei farw yn llafaru etto.* Heb. 11. 4.

*Gof.* Ai yn y modd hynny y bydd i'r gweithredoedd drygionus hefyd?

*At.* Ie, canys yn y modd hyn y dichon i'r drygionus beri llygredigaeth ym mhlith ei ddilynwyr am oesau ar ol ei farwolaeth: Eithr hwy a fyddant, o'u rhan eu hunain, yn fwy esgusodol, o ran na wnaethant ond fel y gwelsent, er iddo ef ysgatfydd

fydd wellhau ei hun cyn marw. Ond yn y bedd y bydd mwyaf ei bechod, yn enwedig os efe a lunia gyfreithiau ac arferion anghrefyddol, y rhai nis diddymmir yn hawdd; neu wneuthur cam gyfraith er mwyn meddiannu eiddo eraill, yr hyn sydd yn tynnu i lawr felltith annheilwng-feddiant ar eu holl hiliogaeth: neu wneuthur llyfrau drygionus; neu sefydlu rhyw annuwioldeb, nas gwyr neb mo'i ddiwedd.

*Gof*. Pan el Duw i'n barnu, a fydd iddo ef graffu ar yr holl ffrwythau hyn o'n gweithredoedd?

*At*. Mae yn rheswm iddo wneuthur hynny: canys ar *Jeroboam* y bwriwyd y pechodau y bu ddynion eraill yn euog o honynt fyth ar ol ei farwolaeth ef, o achos ddarfod iddo ef sefydlu
1 Bren 15. drygioni drwy gyfraith, a llunio * sism, gan *wneu-*
29, 30, *thur i Israel bechu.* Ac y mae'n debygol mai
34. dyna'r achos y dywedir fod ysprydion trwblus yn ymrithio ar amserau i geisio esmwythaad am ryw gamweddau a wnaethent yn eu bywyd; Yr hyn a ddengys ofalon Duw am wneuthur uniondeb; a'u hymroad hwythau ar barottoi eu cyfrifon. Ac nid oes ammeu nad hynny a wnaeth i *Ddifes* fod
Luc 16. mor ofidus am gael o'i *frodyr rybudd o'r lle poenus*
27, 28. *hwnnw, trwy anfon un o fyd arall attynt.* Canys efe gan fod yn bennaeth ar dŷ ei dad, ac yn ddyn anfucheddol, yr oedd ef ar y ffordd i wneuthur llawer o ddrwg, gan lygru ei dylwyth a'i gydnabod, y rhai a fyddent yn ei gwmpeini yn fynych. A chan i'r rhai hynny gael eu gwaethygu o ran ei siampl ddrwg a'i awdurdod ef, cynnyddiad y cyfryw euogrwydd o'i waith ef, a allai chwanegu ei boenau. Ond y mae'n debyg fod ei ddeisyfiad ef yn fwy o ran esmwythaad iddo ei hun nag o ran ewyllys da i neb arall, oblegid
1 Io. 4. 16. nad oes fawr o ewyllys da yn uffern. *Canys Duw, cariad yw; a'r hwn sydd yn aros mewn cariad, sydd*

*yn*

* Ymwahaniad mewn crefydd.

*yn aros yn Nuw*; Eithr ni ddichon y cariad hwn mor bod yno. A hyn a ddylai wneuthur i bob dyn fod yn ofalus na bai iddo osod allan opiniynau, neu siamplau drwg eraill: Ac yn enwedig, na byddai i ni dderbyn na chefnogi arferion anghrefyddol mewn un modd, na'n cyfoethogi ein hunain na'n teuluoedd drwy anghyfiawnder, na sefydlu un math ar ddrygioni, rhag ini bechu yn y bedd, a gallu o honom ddigio Duw pryd nas gallom ei wasanaethu; a pharhau beunydd i chwanegu pechod at bechod, pryd nas gallom mwy mo'r edifarhau. Ac o'r tu arall, dylai hyn gefnogi dynion i arferu pob gweithred ddaionus, fel y bo i'r ffrwythau, gan barhau ar eu hol, gadarnhau eu gobaith, y bydd i Dduw (yr hwn sydd barottach i wobrwyo nag i gospi) eu cofio hwynt yn y diwedd.

*Gof.* Gan fod i ddynion gael eu barnu am holl weithredoedd eu bywyd; A fernir hwynt hefyd am eu dirgel weithredoedd, y rhai a wnaethpwyd mewn tywyllwch, yn gystal a'r rhai yn yr amlwg?

*Att.* Gwneir. *Canys Duw a ddwg bob gweithred* Preg 12.
*i farn, a phob peth dirgel, pa un bynnag a fyddo ai* 14.
*da ai drwg.* Gan hynny buddiol i ni beidio rhyfygu gwneuthur drwg, gan ymddiried i'r tywyllwch ein cysgodi: oblegid fod yr holl weithredoedd hynny i'w dangos yn gyhoeddus, a ni a gondemnir o'u herwydd yngwydd angylion a dynion.

*Gof.* Y mae hyn yn ddychrynadwy i bechaduriaid anedifeiriol, y rhai y pryd hwnnw a boenir am eu pechodau. Ai tybied nad yw hyn yn digalonni peth ar y rhai cyfiawn hefyd, er eu bod yn edifeiriol am danynt, a chwedi derbyn maddeuant? Canys eu cyn-bechodau dirgel, y rhai a fuant yn gymmaint tristwch iddynt o'r blaen, a'u gwnant yn bruddion eilwaith, os bydd raid eu [illegible]

*At.*

*At.* Na wnant, ni bydd arnynt berygl trymder o'u plegid: O herwydd er bod *Solomon* yn dywed-
Preg. 12. yd y daw Duw *â phob gweithred i farn, pa un*
14. *bynnag ai da ai drwg* a fyddo: etto, nid yw hyn amgen nag i ddangos uniondeb y farn, a helaethrwydd trugaredd Dduw: eithr nid o ran edliw iddynt: ac ni bydd llai eu cymmeriad gyd â'r angylion gogoneddus nâ chyd â dynion. Oblegid fel y mae Duw ei hun, felly y maent hwythau, yn petchi y rhai edifeiriol megis rhai na phechasent erioed. A hyn a brofir drwy'r ysgrythur, sef,
Rhuf. 4. *ni chyfrif yr Arglwydd iddynt bechod;* Ac *a cuddier*
8. *eu pechodau:* ad na *chofia'r Arglwydd eu pechodau*
Heb. 8. *mwyach.* Ni chrybwyllir am danynt i beri nac
12. ofn na gwradwydd, Canys ni chofir mo honynt mwyach.

*Gof.* Nid pob rhai o'n gweithredoedd sy'n gwbl ddaionus, er iddynt ymddangos yn berffaith i'r byd.

*At.* Nage: y mae rhagrithwyr yn gwneuthur rhai gweithredoedd da: megis y *Phariseaid* a ym-
Mat. 23. ddangosent yn grefyddol *wrth eu hir weddiau,* er
14. mwyn cael clod gan ddynion, modd y caent *fwyr fwytta iroi gwiragedd gweddwon* heb eu hammeu.
Io. 12. 5, A phan dywalltwyd *yr ennaint drud ar ben Crist;*
6. fe a gymmerai *Suddas* arno fod yn *ofalus iawn dros y tlodion,* eithr yr hyn a wnai iddo lafaru,
2Sam. 15. oedd trachwant yn hytrach. *Absalom* a wnai
7. esgus i *dalu'r adduned yn Hebron* er mwyn codi *gwrthryfel* yn erbyn ei *dad.* Y mae llawer dyn a'i ymddygiad yn addfwyn er mwyn dirgel frad, gan fod yn grefyddol o ran mantais, neu ddirgel ddeisyfiad.

*Gof.* Ond pan whel dynion anweddeidd dra tan gysgod rhagrith yn dêg ar olwg, a fydd i Grist argyoeddi eu rhagrith yn hyn, a chondemnio'r gweithredoedd, er i'r byd eu coelio?

*At.*

*At.* Bydd: Canys, *pan ddelo yr Arglwydd, efe a oleua ddirgelion y tywyllwch, ac a eglura fwriadau'r calonnau.* *Ac a wna ei ddeall ef yn fywiog yn ofn yr Arglwydd, ac nid â'i lygaid y barna efe, nac wrth glywed ei glustiau y cerydda ef:* megis glân wrth y golwg oddi allan, *ond efe a farn y tlodion mewn cyfiawnder, ac a argyhoedda tros rai llariaidd y ddaear,* lle y maent yn drofeddwyr. Gan hynny, nyni a ddylem fod yn ofalus am weithredu pob dim mor ddidwyll tuag at Dduw, ac yngolwg dynion: canys os nyni a fyddwn dwyllodrus mewn un rhyw beth, efe a dynn ymaith y gorchgudd, ac a ddengys i'r byd mai lledrith a thwyll sydd ynom. 1 Cor. 4. 5. Esa. 11. 3, 4.

*Gof.* Yr wyf i'n deall y bernir ni oll y pryd hwnnw am ein gweithredoedd pechadurus: ond a fernir ni hefyd am bob math ar esgeulusdra pechadurus?

*At.* Bernir. Canys yr ydym mor rwymedig i wneuthur y peth a archo Duw, ac i ochelyd y peth a waharddo: Ac ar y dydd hwnnw, efe a'n geilw ni oll i gyfrif am bob un. *Ewch oddi wrthyf rai melldigedig i'r tân tragywyddol, canys* yn fy mhobl druain *goddefais newyn, ac ni roisoch i mi fwyd; bu arnaf syched, ac ni roisoch i mi ddiod, yn ddieithr, ac ni'm dygasoch i gyd â chwi, yn glaf ac yngharchar, ac ni ymwelsoch â mi:* Yr hyn oll sydd esgeulusdra. Mat. 25. 41—43.

*Gof.* Gan ein bod ni oll yn ddamnedig am esgeuluso'r gyfraith: a roddir barn hefyd arnom am esgeuluso gorchwylion, neu am na wnaethom y gorau o'n talentau?

*At.* Rhoddir, oblegid y mae'r Arglwydd yn gorchymyn *bwrw allan y gwas anfuddiol*, yr hwn a *guddiasai ei dalent, i'r tywyllwch eithaf.* Ac felly y mae pob dyn yr hwn y rhoddes Duw hamdden, neu allu, neu gyfoeth, neu gymmeriad, neu synwyr, yn rhwym i edrych at ol yr holl ymddiried hwn. Mat. 25. 25, 30.

hwn. Ac nid i'w difrodi drwy ddrygioni, gwagedd, a difyrrwch, ond i'w harferu yngwasanaeth Duw, megis goruchwyliwr call a ffyddlon, gan gofio mai eiddo ei feistr ydynt a roddwyd dan ei ddwylaw ef: ac mai ar y dydd hwnnw y gelwir ef i roddi cyfrif am danynt.

*Gof.* A fernir ni am ein geiriau hefyd?

Mat. 10. 37. *At.* Bernir. *Canys wrth dy eiriau y'th cyfiawnheir; ac wrth dy eiriau y'th gondemnir.* Gan hynny nyni a ddylem reoli ein tafodau, gan fod yn rhaid rhoddi cyfrif mor fanwl yn eu cylch hwynt.

Mat. 12. 36. *Gof.* Eithr *Crist* a ddywedodd *y bydd raid rhoddi cyfrif ddydd y farn am bob gair segur.* Pa beth gan hynny a ddaw o'r rhan fwyaf o ddynion yn y byd hwn? o herwydd fod pob dyn a'r a gymmero ei ryddid, yn euog o ddywedyd rhyw eiriau a font segurllyd neu ddiles?

*At.* Meddwl y *gair segur* hwnnw yw, pob gair *twyllodrus* ac *enllibiog*, fel y geiriau a arferai'r *Iuddewon* yn erbyn yr *Iesu*, pan ddywedent mai *trwy* Adn. 24. *Belzebub* yr oedd efe yn *gwneuthur gwyrthiau.*

*Gof.* A fydd raid rhoddi cyfrif am droseddiad mewn gair a gweithred; a drwg feddyliau, neu amcanion heb fyned yn weithredoedd?

Rhuf. 2. 16. 1 Cor. 4. 5. *At.* Bydd: *Canys y dydd hwnnw y barna efe ddirgelion dynion. A phan ddel yr Arglwydd i farnu, efe a eglurha fwriadau y calonnau.*

*Gof.* Ai nid ydym ni oll, fwy neu lai, o'r cyfryw feddyliau a dymuniadau anghyfreithlon; ac yn debyg i barhau felly tra bom ni byw?

Gal. 5. 17. *At.* Ydym: canys yn oed y rhai *adgenhedledig* oeddynt yn achwyn fod y *cnawd yn chwennychu yn erbyn yr ysbryd.*

*Gof.* Pa fodd y saif neb yn y farn, os condemnir dyn yn unig am feddwl?

*At.* Ped fai'r meddyliau yn ddamnedig, nis gallent mor sefyll: eithr nid am feddwl a dymuno yn

yn unig y mae Duw yn condemnio dynion, ond
am ymddaroftwng i'w cyflawni hwynt. *Na* Rhuf. 13.
*wnewch ragddarbod dros y cnawd er mwyn cyflawni* 14.
*ei chwantau ef.* Eithr nid yw y cyfiawn yn euog
o'r cyfryw feddyliau drwg, ac os ydyw, efe a edifarha, gan wellhau mewn amfer.

*Gof.* Ai'r ymddaroftyngiad i gyflawni'r cyfryw fwriadau, a fernir gan hynny?

*At.* Yn gyntaf, pob ymroad yn y galon i'w
cyflawni (er yfgatfydd, nad ellir mor gwneuthur
drwg o eifiau cyfleuftra (*canys chwant wedi ym-* Jag. 1. 15.
*ddwyn a efgor ar bechod.* A'n Hiachawdwr a ddywedodd, *y dichon euogrwydd fod o fewn y galon.* Yn
ail, meddylfryd i wneuthur y peth ar ol ymddaroftwng iddynt. *Yr hwn a fwriada ddrwg a elwir* Dihar. 24.
ac a fernir *yn yfgeler.* *A meddyliau drwg,* hynny 8.
yw, dychymmygion gwaedlyd, a ofodwyd gyd Mat. 15.
â *llofruddiaethau* gan ein Harglwydd ei hun. Ac 19.
yn drydydd, cyflawni'r weithred, gan wneuthur Gal. 5. 16.
ac arferu, yr hyn yw, *cyflawni chwantau'r cnawd.* Rhuf. 8.
A gwaeth nâ'r cwbl yw, os bydd iddo gynnyddu 1, 2,
yn arfer fefydlog, yr hyn yw, *rhodio yn ol y cnawd.* 4, 13.

*Gof.* Myfi a welaf, mai pan ddel *Crift* i farnu, y gelwir ni oll i gyfrif am bob gweithred bechadurus a wnaethom; a'r holl eiriau pechadurus a ddywedafom; a'r holl feddyliau drwg a fwriadafom; ac y condemnir ni o'u herwydd, oni bydd i ni ddifrifol edifarhau am danynt?

*At.* Felly y gwneir.

*Gof.* Ond pa fodd y barna *Grift* ni am y pethau hyn? a rydd efe farn ddi-wyriad a di-dderbyn wyneb?

*At.* Rhydd. Pob rhai o'r un fefur o euogrwydd, a dderbyniant yr un fefur cofpedigaeth. Canys barnwr yw nad ellir ei led-wyro drwy fygythion na gweniaeth, na thrwy anwyldra tuag at rai beius, na medrufrwydd araith, anrhegion na chym-

mwynafau, drwy hudoliaeth na thaerhi, drwy geraint na theuluoedd, fectau nac opiniynau. Ond, gan gwbl wrthod pob neillduol barch, efe a edrych yn unig ar yr haeddiant, a'r achos; ac a farn bob
Rhuf. 2. 5. hyd 13. dyn yn ol y dystiolaeth a ddel i'w erbyn. *Ar ddatguddiad cyfiawn farn Duw ni bydd derbyn wyneb. Cynnifer ac a bechasant yn ddi ddeddf, a gyfrgollir befyd yn ddi ddeddf: a chynnifer ac a bechasant yn y ddeddf, a fernir wrth y ddeddf. Duw a dal i bob un yn ol ei weithredoedd; Bywyd tragywyddol i'r rhai a barhant yn gwneuthur da, eithr trallod ac ing i bob enaid dyn fydd yn gwneuthur drwg, pa un bynnag ai Iuddew ai Groegwr. Yr hwn heb dderbyn*
1 Ped. 1. 17. *wyneb, fydd yn barnu yn ol gweithredoedd pob dyn.*

*Gof.* A fydd i Grist farnu yn ol yr holl byngciau hyn a thostrwydd y gyfraith, gan ddwyn allan bob bai bychan, a chymmeryd pob mantais gyfreithlon yn ein herbyn: neu ynte drwy waftadrwydd a thegwch, gan hoffi rhefwm ac addfwynder?

*At. Tegwch, uniawndeb, a hynawsrwydd* y barnwr hwn fydd annhraethadwy. Canys ein cyfryngwr fydd farnwr i ni, ac a fu heddychwr i ni o hyd: ein cyfaill yr hwn a'n carodd ni yn fwy nâ'i fywyd, gan dywallt ei waed trofom. Ac felly, pan ddelom ni o'i flaen ef, ny ni allwn ddisgwyl cymmaint ffafr ac a weddai mewn cyfiawnder.

*Gof.* A ddirnad efe ein gweithredoedd mewn addfwynder, gan dderbyn pob peth a ddalio allan yn dêg, a chan graffu ar yr hyn a fyddo o'n tu ni yn gystal a'r hyn a fyddo i'n herbyn?

*At.* Gwna: canys y mae *Crist* yn crybwyll am weithredoedd da y *rhai ar ei ddeheulaw*, sef ei *ddi-*
Mat. 25. *wallu, a'i ddilladu*, ac *ymweled ag ef:* yr hyn, yn wir, nis gwnaethent oblegid nas gwelsent ef, ond ei fod ef yn dirnad (gan wneuthur o honynt hynny i'w

frodyr

frodyr tlodion ef ei fwyn ef) mai pe'i gwelfent ef ei hun yn dwyn y cyfryw eifiau, y gwnaethent hwy hynny, neu fwy, iddo. *Dewch chwi fendigedigion fy Nhad, canys bum newynog, a chwi a roifoch i mi fwyd, fychedig, a rhoifoch i mi ddiod, &c.* A phan attebont, *Arglwydd, pa bryd y'th welfom, i wneuthur hyn i ti?* y mae ef yn dywedyd i ni yr ettyb; *yn gymmaint a'i wneuthur o honoch i un o'r rhai hyn, fy mrodyr lleiaf, i mi y gwnaethoch.* Ie er ficcrwydd i ni o'i addfwynder rhagorol yn barnu ei gyfeillion: edrychwn ar ei hynawfedd ef mewn barn ar y gweithredoedd gwaethaf a wnaeth ei elynion. Pe fuafai efe yn chwennych rhoddi barn galed ar neb, pan groefhoeliwyd ef oedd yr amfer. Efe a gyfrifodd y ddihenyddiaeth greulon honno (pan oedd yn nhrymder ei ofid) megis gweithred i'w maddeu, gan ddywedyd wrth ei Dad, mai trwy anwybodaeth y gwnaent hynny: Yr hyn oedd yr unig beth a'u hefgufodai hwynt, gan *gyfryngu* tros y fath weithred echryflon, yr hon a wnai achos iddo ef (yn anad neb) i ddywedyd yn ddrwg am dani. A dyna'r modd ar y dydd diweddaf, y bydd i'r barnwr (o ran tiriondeb) fod yn eiriol tros ei garcharorion, gan chwilio eu holl rinweddau, a gwneuthur y goreu o bob cyflwr tofturus. Ac am y rhai cyfiawn, efe a gyfrif eu methiantrwydd ym mhlith yr achofion mwyaf efgufodol, ac a gofia eu gweithredoedd da hwynt (er na bont hwy yn cofio) gan eu cyfrif yn well nag y gad goftyngeiddrwydd iddynt hwy wneuthur.

Adn. 34. hyd 41.

Luc 23. 34.

*Gof.* Ond pa beth a ddywedir am ei gyfraith ef, yr hon fydd doft i'w hyftyried, gan erchi i ni ei *garu a'i wafanaethu ef, â'n holl galon, ac â'n holl nerth*, yn ol y gorchymyn. Ac os gofynir y cyflawniad cyn belled a'n gallu, nid eill hynawfedd yn y byd mo'n hefgufodi?

Deut. 6. 5. Mat. 22. 37.

*At.* Efe a laesa'r ystyriaeth dost yn yr ymadroddion hyn, gan eu cyd bwyso â dynol wendid. Efe a ystyria wrth ein haml brofedigaethau, a'n meddyliau anwastad, a gwrthnysigrwydd nattur; a breuolder pob cyflwr presennol. A phan ddarffo iddo ystyried hynny o'i diriondeb, yna ni bydd ond a allom drwy degwch ei gyflawni, yr hyn a saif am ei wasanaethu ef â'n holl galon, ac â'n holl nerth.

*Gof.* Pa fodd yr amlygir hynny?

*At.* O herwydd fod yr ysgrythyr yn cyhoeddi
Heb. 5. y bydd iddo ef *gyd-ddwyn â'n gwendid* hyd lle
2. y bo resymmol: ac o herwydd iddo wneuthur
hynny o'r blaen wrth farnu amryw fath ar gyflyrau, gan gyhoeddi fod llawer un wedi cadw'r gorchymynion, er nad oeddynt wedi cyflawni pob peth, ond o ran lwfio iddynt ryw bethau o herwydd gwendid dynol. Yn y modd hyn y dy-
1 Bren. wedir am *Asa*, fod ei *galon ef yn berffaith gyd â'r*
15. 14. *Arglwydd*; ac am *Ddafydd*, iddo ef *rodio gyd â*
1 Bren. *Duw â'i holl galon:* îe, ac *na chiliodd ef oddi wrth*
14. 8. *yr hyn oll a orchymynodd efe iddo holl ddyddiau ei ein-*
Pen. 15. *ioes, onid yn achos Uriah yr Hethiad:* ac am *Josia*,
5. 2 Bren. iddo *wneuthur yr hyn oedd uniawn yngolwg yr Ar-*
22. 2. *glwydd, ac na throdd ar y llaw ddehau nac ar yr*
*aswy.* Ac am *Zacharias* ac *Elisabeth*, iddynt
Luc 1. 6. hwythau *ill dau rodio yn holl orchymynion yr Arglwydd*
*yn ddiargyoedd.* Y rhai hyn oll oeddynt ddynion o'r un freuolder a gwendid, â ni ein hunain. Yr oeddynt hwy yn ddiffygiol yn eu calonnau ar amserau fel ninnau; Ac er iddynt ragori ar eraill, etto a fuant yn ol o'r hyn a allasent yn yr eithaf,
2 Cron. fel y tystia'r *ysgrythyrau* am danynt. Hwy yn
16. 1, ddiau a wasanaethent Dduw â'u holl eneidiau,
10, 13. mewn un deall o'r gorchymyn, a hyn megis ar-
1 Sam. 19 20. wydd *o'u tueddiad yn unig i'w addoli ef*, hynny yw,
2 Cron. heb roddi yr un rhan o'r galon *i wasanaethu eilyn-*
35. 21, *tod.* Ond cyn y gellid cyfrif eu gwasanaeth yn
22, 23.

gwbl

gwbl gyfan i Dduw, yr oedd yn rhaid lwfio methiantrwydd dynol wendid. A chymmaint ac a allent hwythau wneuthur ar ol hynny a farnwyd yn *wasanaethu Duw â'u holl galon*, yn ol y gorchymyn.

*Gof.* A fydd i *Grist* (wedi gwneud y goreu o'r gweithredoedd da) lwfio hefyd am dramgwyddiadau, hynny yw, syrthio i ddrwg, neu esgeuluso gwneuthur daioni?

*At.* Bydd, pan fethont y naill neu'r llall, drwy annealltwriaeth, neu fai di amcan-ddrwg, neu pan dramgwyddont o wir frys, neu feddwl byrbwyll, trwy ymadrodd diystyr, os bydd iddynt eu ceryddu eu hunain mewn amser, gan adgofio yr hyn a wnaethant, a pheidio ei arferyd mwy. Efe a dosturia wrth y cyfryw rai pan eu barno, megis y mae efe yn offeiriad i gyfryngu trostynt. Canys fel y gwnai offeiriaid yr *Iuddewon* gynt, felly y dichon yntau *dosturio wrth y rhai a font* Heb. 5.
*mewn anwybodaeth ac amryfusedd*, neu fel y mae'r 2.
*gair* * yn arwyddoccau, *efe a ddioddefa mewn gweddeidd-dra*, neu a *gyd ddwg yn rhesymmol.*

*Gof.* Ond pa beth os bydd i ddynion fod mewn anwybodaeth o herwydd iddynt esgeuluso dysgu eu dyledswyddau, neu hwyrach, wedi cau eu llygaid a'u clustiau, gan wrthod edrych na gwrando ar ddywedyd iddynt?

*At.* Hynny a fydd ddi esgusodol iddynt o herwydd eu bod yn *ddi wybod o'u gwirfodd.* 2 Ped. 3.

*Gof.* Myfi a welaf y bydd iddo ddangos tiriondeb i'r rhai a wyront o'u hanfodd. Ond ni wasanaetha hyn i ni os bydd efe yn haerllug ac yn fanwl wrth farnu yr hyn a wneir drwy annealltwriaeth; canys pwy nad yw yn dueddol i ddealltwriaeth? Ac os na wnawn ni ein goreu am gael gwybodaeth, efe a a ddichon ddywedyd ein bod yn tramgwyddo o'n gwirfodd, os efe a farna yn



* μετριοπαθεῖν.

fanwl. Eithr a fydd ef mor hynaws a barnu ein musgrelli a'r aflwyddiant a ddigwyddo i ni o'n hanfodd, yn bethau i dosturio wrthynt? ac onid e nid eill hynawsedd mewn pethau eraill mo'n dal i fynu ger ei fron ef?

*At.* Bydd, efe a ddengys gymmaint tiriondeb ac a eill rheswm ei oddef, neu a allai dâd ddangos i'w blentyn. Y mae genym arwydd ragorol o'i duedd ef i wneuthur y goreu o'r gwaethaf, pan gyfrifodd ef ei *groeshoeliad* yn anwybodaeth yn yr *Iuddewon:* yr hyn, dybygid, oedd lid a malais yn hyttrach. Addfwyn oedd ei ddioddefaint ar y groes, ac addfwyn fydd ei farn ar y faingc. Ac er mai mawr a fydd ei ogoniant a'i awdurdod, ni bydd ei diriondeb ddim llai.

*Gof.* Ein barnwr, gan hynny a esgusoda fethiantrwydd o anfodd. Eithr a fydd iddo gydddwyn hefyd â *phechod gwirfodd?* hynny yw, pan droseddom trwy wybodaeth, ac yn erbyn cydwybod?

Mat. 15. 18. *At.* Na fydd: *canys y pethau sydd yn dyfod o'r galon a halogant Ddyn.* Ac er i'r gwirion a'r an-
Iag. 4. 17. wybodus ymesgusodi, etto *i'r neb a fedr wneuthur daioni, ac nid yw yn ei wneuthur, pechod ydyw iddo.* Eithr os bydd iddynt wir edifarhau a diwygio eu pechodau cyn marwolaeth, nis condemnir hwynt ar y dydd mawr hwnnw.

*Gof.* O! mor ddedwyddol ydym ni dan farnwr mor waraidd a hynaws, yr hwn sydd mor barod i wneuthur y goreu o'n gweithredoedd, ac esgusodi ein camsyniadau a'n methiantrwydd di fwriad, ac i fyned heibio i'n pechodau gwirfodd hefyd, os gwir edifarhawn. Ond heblaw hynny, ai nid yw ei addfwynder a'i ffafr ef yn angenrhaid i ni mewn perthynas i wendid naturiol?

*At.* Ydyw, o achos ansiccrwydd tymmerau nattur, syrthni mewn dyledswyddau duwiol, yn enwedig ar ryw amserau; ein meddyliau anwastad

mewn

mewn gweddiau; chwennych clod; ac eraill
draws ddymuniadau yn rhwystr i'n gweithredoedd
goreu; esgeuluso cyflawni, a natur wrthnysig
i ddaioni; gwendid ffydd i gredu anweledig
ddaioni Duw; ein tueddiad at bethau gweledig
y byd; a'n hoereidd-dra i bethau duwiol ac ys-
prydol. Gwendidau yw y rhai hyn oll sy'n ber-
thynol i'r goreu o ddynion, ac a lynant, fwy neu
lai, wrthym ni tra bom yn y corph hwn, a thra
trinom bethau'r ddaearen.

*Gof.* A ddengys y barnwr hynaws hwn y cyf-
ryw ffafr i'r gwendidau hyn, gan fod natur mor
dueddol iddynt?

*Atb.* Dengys. Ond pe bai efe ond Duw yn
unig, fe a fyddai achos i ni ofni y byddai iddo
alw am fanylach cyflawniad, o herwydd na byddai
gyfiawnder ei hun fyth mor deimladwy o'n gwen-
did. Ac o ran hynny efe a gymmerth arno nat-
tur dynol, gan fod yn ddarostyngedig, o ran tru-
garedd i gyd ddioddef â ni mewn profedigaethau,
fel y byddai iddo ef, wedi eu teimlo a'u harfer
ynddo ei hun, fod yn fwy teimladwy a thosturus
tuag attom. Y mae ef *yn gyfryw arch-offeiriad*, Heb. 4.
medd yr *apostol*, ac sydd *deimladwy a'n gwendid* 15, 16.
*ni, gwedi ei demtio ymhob peth yn yr un ffunud â*
*ninnau, etto heb bechod. Gan hynny, awn yn hy-*
*derus at orseddfaingc gras, Am ba achos*, medd efe Heb. 2.
drachefn, *y dylai efe ymhob peth fod yn gyffelyb i'w* 17, 18.
*frodyr, fel y byddai ei drugaredd ef i ni mor fawr* a'i
*ffyddlondeb i Dduw; gan gael ei demtio, efe a ddichon*
*gynnorthwyo y rhai a demtier*; a bod yn barod i
ystyried ac i gynnorthwyo mewn *gwendid a them-*
*tasiwn*. Y teimlad hwn a'i gwna (gan ei fod yn
archoffeiriad i ni yn y nef) yn fwy tosturus a
pharottach i'n gorchymyn i drugaredd Dduw.
A'r un deimlad hefyd sydd ganddo ef ar y *faingc*
wrth ein barnu: gan hynny, nyni a allwn goelio

y rhydd efe drugaredd i'r rhai yr ydoedd ef o'r blaen yn eiriol troftynt.

*Gof.* Heblaw gwendidau naturiol, y mae *damweiniau di les* yn fynych i'n rhwyftro: yn enwedig ein bydol achofion, yr hyn fy'n peri meddyliau gwibiog, a phryfurdeb, yr hyn fy'n cynnyddu cam-gymmeriadau. Ac o ran amled y cyfryw brofedigaethau, fe a ddigwydd i ni weithiau (o wir frys) wneuthur rhyw ddrwg i fafio ein hoedlau neu'n heiddo. Ac afiechyd neu ofid corphorol, a'n gwnant yn annioddefgar, yr hyn yfgatfydd, a'n bradycha i flinderau eraill. A fydd i'r barnwr tirion yftyried y *profedigaethau damweiniol* hyn?

Rhuf. 2. 12. *At.* Bydd. Efe a wna gydnabod rhefymmol, gan yftyried a lwfio: *cynnifer ac a bechafant yn ddi ddeddf, a fernir yn ddi ddeddf.* Efe fydd yn lwfio iddynt y peth a fo cymmwys o waith eu bod yn ddi ddeddf, ac nid yn ol yr hyn a ofynir i'r

Act. 17. 30. rhai a'i meddant hi. *Amferoedd anwybodaeth*, medd S. Paul, *a efgeulufwyd:* gan ddifgwyl ond llai gan y rhai oeddynt mewn tywyllwch. Ac lle y gwnelo'r cyfryw dywyllwch hudo dynion i wylltineb anyftyriol, a chyndynrwydd tofturus, efe yn rafufol a'u hefgufoda, megis y gwnaeth ef

Act. 23. 2, 3, 5. i *S. Paul*, yn ei anfoefgarwch tuag at *Ananias*, o waith iddo ei gythruddo ef ar fydyn: Ac i *Job* o waith aml ochenaid dan gyflwr gofidus a chyftuddiol: canys lle y mae euogrwydd o waith tramgwyddo yn fyrbwyll, y barnwr a fodlonir yn haws, ac nis gofyn edifeirwch mor ddwys o'i blegid.

*Gof.* Gweithredoedd daionus a wnant i ni gael ein derbyn trwy haeddedigaethau *Crift*, ond y mae yn digwydd i'r rhai goreu o honom lawer o rwyftrau yn hynny?

*At.* Oes, oblegid nad yw ein zel ni mor wrefog a pharhaus mewn bywiogrwydd ac oedd y cyfryw

gan

gan *S. Paul*; nid ŷm ni chwaith mor barod i wneuthur un weithred gariadus ac oedd *S. Pedr*; nac mor llariaidd ac oedd *Moses*; nac mor amyneddgar ac oedd *Job*; na chyn nesed i foddio calon Duw ac oedd *Dafydd*. Ac er i ni ddioddef gwrthwynebau yn ostyngedig, ysgatfydd, etto, nid hwyrach nad ymostyngwn i fod mor ddiolchgar i Dduw am danynt; ac er i ni yn fodlongar oddef gwradwydd er mwyn *Crist*, etto, mae yn debyg nas medrwn mor ymhyfrydu ynddynt, na choelio mai tlodi yw'r cyfoeth pennaf, neu feddwl taith a llafur yn esmwythdra, neu wialennodiau a charcharau yn fuddugoliaeth, neu'r groes yn goron, fel y gwnai'r *apostolion*. Pan fo i ni wneuthur ewyllys Duw, ni bydd fawr lawenydd ynom, na chystal blas ar hynny ac ar fwyd a diod, megis ein *Hiachawr*: Yr ydym ni heb gyrraedd cymmaint perffeithrwydd a diystyru'r byd hwn, a gorchfygu blys, croesawu dirwest a hunan ymwadiad, hoffi dyfal barhaad mewn gweddiau, a diwydrwydd mewn duwiol fyfyrdodau, gostyngeiddrwydd ysprydol dlodi, cynnydd cariad, tueddfryd parod i ddangos a gwneuthur cymmwynasau trwy lawenydd, amyneddgarwch pan y'n cythrudder, parodrwydd i faddeu ac anghofio camweddau: yr hyn oll a ddigwyddodd i'r *saint*, oblegid yr hyn y cawsant eu gwobrwyo.

*Gof*. Ai nid ydyw eisiau'r cyfryw gynneddfau yn gofyn mwy trugarowgrwydd oddi wrth y barnwr hwn?

*At*. Ydyw, ac yn derbyn hefyd. Canys yr ardderchowgrwydd rhagorol hwn o rinwedd a fwriadwyd i ynnill coronau mwy disglaer, ac yn esamplau i gefnogi eraill i ddyfod ar eu hol, eithr nid megis *pwyntiau angenrheidiol er iachawdwriaeth*. Y rhai hyn a ddisgwylir yn unig megis pethau anhawdd i'w cyflawni; canmoledig yw'r sawl a geisiant eu dilyn, ac esgusodol os methu

a wnant:

a chwant: Gemmau ydynt megis i harddu'r deml nefol; coronau disglaer i amgylchu'r ser gloywaf. Ond etto y mae'r lleill yn ser, er bod yn ol o rai o'r pethau gogoneddus hyn.

*Gof.* With hyn, mae mawr ragoriaeth rhwng amryw raddau rhinwedd dda o fewn cyrraedd cylch dedwyddwch. Eithr a raid i bob un cadwedig gyrraedd y pwynt eithaf mewn perffeithrwydd, a bod o'r un ogyfuwch raddau rhinwedd?

*At.* Na raid. Nid yw meddwl y gyfraith am-
Luc 10. gen, nag *ufuddhau i Dduw â'r holl nerth:* ond y
27. mae'r nerth hwn yn fwy yn y naill nâ'r llall. Y
mae *gweiniaid* yn gystal a *chryfion* ym mhlith de-
wisedig bobl Dduw; a chymmaint rhagoriaeth
mawrhydi ym mhlith y saint o ran gogoniant ac
Dan. 12. sydd mewn *haul, lleuad a ser* ynghyfrif y prophwyd
3. *Daniel*, a chyfrif *S. Paul*, neu'r amryw *drigfannau*
1 Cor. 15. gan ein *Iachawdwr*. Ie *S. Paul* a ddywaid iddo
41, 42. (ym mhlith yr *apostolion* eu hunain) *lafurio yn he-*
Io. 14. 2. *laethach nâ hwynt oll*. Fel hyn y mae rhagoriaeth
1 Cor. 15. rhinweddau yn ymgyfwrdd yn yr un man mewn
10. perthynas i haweddfyd, o'r hwn y derbyniant bob
2 Cor. 9. 6. un yn ol ei ran o rinwedd. *Yr hwn sydd yn hau*
*yn brin, a fed hefyd yn brin, a'r hwn sydd yn hau*
*yn helaeth, a fed hefyd yn helaeth* medd yr *apostol*:
Mat. 25. ond rhaid i bawb lafurio. *A phob un yn ol ei allu*
15. yn y ddammeg: Un a chwanegodd ei *bunt* yn
Luc 19. *ddeg punt*, un arall a wnaeth ei *bunt* yn *bum punt*,
16, 18. a'r trydydd, ni wnaeth amgen nâ *dyblu* ei *bunt*:
Mat. 25. ac etto fe a fu hwn mor gymmeradwy ac y dy-
22. wedpwyd wrtho *Da was da a ffyddlon*. Ac me-
gis yr oedd i'r hwn a ynnillodd *ddeg punt* gael
Luc 19. *awdurdod ar ddeg dinas*, ac i'r hwn a ynnillodd
17. *bum punt awdurdod ar bum dinas*: felly yr hwn
Mat. 25. ni wnaeth ond *dyblu ei arian* a wobrwywyd yn
22, 23. *gyfattebol i'w ynnill*.

*Gof.* Mysi a welaf nas gofynir i bawb fod mor ysprydol a'r *apostolion* a bod is graddau rhinwedd

yn

yn gymmeradwy, y rhai hefyd a dderbyniant eu gwobrau cymmesurol. Ond beth os bydd i'r pethau gwaelion hyn gael eu cyflawni drwy gyndynrwydd? Fe allai (yn yr ychydig ddaioni a wnelom) nad parod fyddwn i godi gyd â phob cynnwrf meddwl, naç i wrando ar ymddiddanion rhinweddol neu gyngor da; eithr yn wrthnysig, yn enwedig mewn pethau a'n troant oddi wrth ein hen arferion, er ymroi o'r diwedd. A fydd i'n barnwr grasusol dderbyn y cyfryw wasanaeth hwyrfrydig a hwn?

*At.* Bydd: yr hwn a safodd allan ar y cyntaf, gan ddywedyd *nad ai efe i weithio yn y winllan:* eithr wedi dal yn gyndyn dros amser, a *edifarhaodd, ac a aeth*, a gyfrifir gan ein Iachawdwr o nifer y rhai a *wnaethant ewyllys ei Dad.* Rhinwedd perffaith a wna dueddiad hawddgar a llawen at ddaioni; am hynny y mae gwobr helaeth yn digwydd: Er hynny, os ufuddhawn (er bod yn anhydyn ar y dechreu) cyfrifir ni yn weision ac nid yn wrthryfelwyr: ac a gawn ein gwobrau, er y byddant yn llai ysgatfydd. Ac er bod *y cnawd yn chwennychu yn erbyn yr yspryd*, etto os na *chyflawnwn ni chwantau'r* cnawd, yr yspryd sydd yn trechu: eithr rhaid i ni *rodio yn yr yspryd*, a chael ein gwir genhedlu ynddo ef. Mat. 21. 29, 31. Gal. 5. 16, 17.

*Gof.* Ond ysywaeth, y mae'r ychydig ddaioni a'r a wnelom yn ddiffygiol ac yn ammhur. Pan fom yn gwneuthur gwasanaeth er anrhydedd Duw, yr ydym yn dueddol, hwyrach, i wneuthur hynny er boddio ein gorwagedd ein hunain fwy neu lai, megis ynnill clod oddi allan. Pan fo i ni geryddu eraill am ddrygioni, nid hwyrach ein bod wrth hynny yn boddio ein hanynadrwydd ein hunain yn hyttrach. Ac felly mewn achosion eraill. Gan hynny nid allwn ddisgwyl i'r barnwr cyfiawn mo'n gwobrwyo am y cyfryw wasanaeth ammherffaith a hwn?

*At.*

*At.* Er hynny mae'r barnwr mor hynaws, ac mor barod i wneuthur y goreu o'r hyn a fo yn dda, a bod rhyw fai bychan yn esgusodol ger ei fron, os edifarhawn. Nid yw efe am daflu ymaith y da i ganlyn y drwg. Fel hyn yr oedd ym mysg
Ecs. 1. 19—21. gweithredoedd *bydwragedd yr Aipht*, lle y mae Duw yn canmol eu gwaith hwynt, gan eu gwobrwyo; a chymmeryd eu dichell yn esgusodol. A
Jag. 2. 15. Jos. 2. 4, 5, 9. *Rabab* sydd yn cael ei gwobrwyo o ran *ei ffydd yn y gwir Dduw*, a maddeu ei *besgus bi dros yr yspiwyr*. Ie a chan geryddu rhinweddau dynion a fyddant yn gyfiawn yn y pwngc pennaf, eithr yn euog mewn rhyw fai i dosturio wrtho: Efe a edrych yr achosion a barodd hynny; a phan fo iddynt ymddarostwng yn y rhan arall, efe a dry heibio y rhan a fo yn esgusodol, megis y gwnaeth
Mat. 12. 3, 4. ein Iachawdwr wrth grybwyll *fwytta o Ddafydd y bara gosod*, gan ei esgusodi ef o herwydd yr achos, yn lle ei geryddu o ran dichell y weithred.

*Gof.* Ai ni ddywedir, mai os bydd i ni *weddio*,
Mat. 6. 2, 5, 16. neu roddi *eluseni* er mwyn * *mawl gan ddynion*; ein bod *yn derbyn ein gwobr?*

*At.* Felly y dywedir, pan fyddo ein gweddiau, a'n helusenau, a'n gweithredoedd da, o ran canmoliaeth yn unig; eithr pan fo'r peth felly, nid o ran gwasanaeth i Dduw y mae. Ond pan wnelom weithred dda o ran boddio Duw yn unig, hon a fydd gymmeradwy, er y gallai fod rhyw fai di falais ynglyn wrthi.

*Gof.* Ond wrth ystyried llarieidd-dra'r barnwr mawr hwn, ni wiw i ni ddisgwyl ei fod ef mor anwyl o honom a chyd-ddwyn â phob peth a'r a wnelom, heb edrych y beiau?

*At.* Na wiw Canys fel y mae efe yn hynaws ac yn dda, y mae hefyd yn bur ac yn gyfiawn. Yr hyn y mae yn ei lwfio tuag at ein *gwendid* medd

*S. Paul*,

* Nad oes i ni wobr, ond y fawl honno.

*S. Paul*, yw † *cyd-ddwyn â ni mewn rhesswm a gweddeidd-dra*. Mae efe ynddo ei hun yn gyd-dymmherus o drugarowgrwydd lle y bo achos i dostturio; ac yn dra chyfiawn lle y bo achos rhoddi dial: ni wiw ymbil arno ef am arbed os byddis yn haeddu cospedigaeth.

*Gof*. Chwi a ddywedasoch y bydd i *Grist* fod yn hynaws a llariaidd wrth wrando a barnu: Ai ni fynnai efe i ni gredu hynny?

*At*. Mynnai, canys wrth ystyried mor ddiffygiol yw y rhan fwyaf o'i ddilynwyr ef, ni byddai i ni obaith gysurus ynddo ef ar ei *ymddangosiad*, oni bai hynny. Oblegid hyn, y mae'r *apostolion* yn pennodi'r greduniaeth honno yn arwydd *Cristianogion* daionus a chymmeradwy, megis rhai yn gobeithio cael dedwyddwch trwy 'r ddisgwyliad hon. *Coron cyfiawnder fydd yngbadw i mi, ac i bawb a garant ei ymddangosiad ef* medd *S. Paul*. 2Tim. 4. 8.
*Disgwyliwch*, a thrwy eich gweddiau, *bryssiwch at ddyfodiad dydd Duw*, medd *S. Pedr*. *Tyred Arglwydd Iesu*, medd *S. Ioan*. A'n Harglwydd ei hun a'n dysgodd yn ein gweddiau beunyddiol i ddywedyd, *Deued dy Deyrnas*. 2 Pedr 3. 12. Dat. 22. 20. Mat. 6. 10.

*Gof*. Ai nid ŷm ni yn ddyledus i'w *ddioddefaint* ef am y cyfryw hynawsrwydd?

*At*. Ydym. *Canys gwnaed ni trwyddo ef, yn gymmeradwy yn yr anwylyd, yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth drwy ei waed ef*. A chan gyfaddef pob peth iddo ef, rhaid i ni *weddio am danynt, a rhoddi diolch yn ei enw ef*. Eph. 1. 6, 7. Io. 14. 13. Eph. 5. 20.

*Gof*. Yr holl weithredoedd hyn o'i ffafr, sy'n arwyddion rhagorol o'i dirion deb ef i'w weinidogion ffyddlon; a'r *efengyl* hefyd a bair i ni ddisgwyl y cyfryw ar ei law ef: eithr a oes i ni siccrwydd y sai efe wrth ammodau'r efengyl?

*At*. Oes yn wir: canys ni bydd edifar ganddo ei addewid, ac nis gwad efe moi hanfod. Heb-

law

† Heb. 5. 2. Μετριοπαθεῖν.

law mai efe yw yr *Iesu*, yr hwn a ddaeth unwaith oddi wrth Dduw, i wneuthur ei gynnygion grasusol hyn i ni; yr hwn hefyd a ddaw i'n barnu, 'modd y bo iddo gyflawni ei gynnygion a'i addewidion. Ac y mae i ni achos i dybio y ceidw ef friwiau ei farwolaeth dan ddiwedd pob peth, fel y cadwodd efe hwynt tan ei adgyfodiad; Efe a ddaw (fel y tybiai rai o'r hen oesyddion) a chreithiau'r waywffon, ac ôl yr hoelion yn ei gorph, y rhai a brynasant i ni y bendithion hyn oll. Yna,
Dat. 1.7. megis y bydd i'r rhai drwg *edrych ar yr hwn a wanasant*, drwy fraw a dychryn: felly y bydd i'r rhai cyfiawn lawenydd annhraethadwy, gan fod ei archollion ef yn dangos tiriondeb a chariad eu barnwr iddynt, gan edrych ar siccrwydd iachawdwriaeth y cyfiawn.

*Gof*. Addfwynder yr hollalluog farnwr hwn sydd megis ffynnon barhaus o lawenydd cysurus i bob dyn o feddwl difrifol a theimladwy. Ond yn wir, oni bai'r addfwynder a soniasoch am dano, fe a fyddai meddwl am y farn i ddyfod yn ystyriaeth ddwys i'r goreu o ddynion. Eithr gan ddisgwyl am y cyfryw hynawsrwydd a thiriondeb, y mae iddynt achos i chwennychu prysurdeb ei ddyfodiad yn hyttrach. Ond pa beth a fydd llesshaad y rhai daionus yn y dydd hwnnw?

*At*. Hwy a gânt eu symmud i fywyd tragywyddol, ac a gânt eu gwobrwyo â holl ogoniant a hawddfyd y dragywyddol deyrnas. Canys wedi gwrando ac ystyried eu cyflwr yn dêg ac yn ddiddderbyn wyneb, a gwneuthur arbedrwydd, a chan eu cael yn gyfiawn, efe a ddywed wrthynt
Mat. 25. *Deuwch chwi fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y*
34. *Deyrnas a baratowyd i chwi er seiliad y byd.*

*Gof*. Ac wrth rannu gwobryau, a fydd iddo ef ystyried y diffygiadau, a'r rhwystrau oedd i'r naill yn rhagor y llall yn gwneuthur daioni?

*At*.

*At*. Bydd: megis y mae'r profedigaethau hynny yn brawf o fwy cariad, hwy a fyddant, o hyny, yn haeddu gwobr mwy: fel y dywedai S. *Paul*, y byddai i'r *chwanegiad o flinder i'w ran ef, wrth bregethu'r efengyl, ddigwydd iddo er iachawdwriaeth yn y diwedd*. Philip. 1. 16, 19.

*Gof*. A fydd iddo ystyried hefyd yr anhawsdra o fyw yn fucheddol, megis eu colledion am gyfeillion neu feddiannau, Ie, am eu bywyd hwyrach?

*At*. Un weithred dda dan y cyfryw anhawsdra, a ddengys y fath grefyddol awyddfryd, ac a wasanaetha dros lawer gweithred ddirwystr. Pan fo i ni gael colledion o achos ofni Duw, efe a'n gwobrwya yn ol ein colledion yn gystal ac am ein gweithredoedd er ei fwyn ef. *Canys pob un a'r a adawo dai, neu frodyr neu chwiorydd, neu dad, neu fam, neu wraig, neu blant, neu diroedd, er fy mwyn i*, medd ein Iachawdwr, *a dderbyn y can cymmaint*. Mat. 19. 29. A'r merthyron, *y rhai a dorrwyd eu pennau am dystiolaeth yr Iesu, a gyfodasant gyntaf, ac a deyrnasasant gyd â Christ fil o flynyddoedd: eithr y lleill o'r meirw, ni fuant fyw drachefn nes cyflawni'r mil flynyddoedd*. A chan hynny, pa bryd bynnag y galwo Duw ar ddynion i ddioddef am gyfiawnder, na bydded iddynt gymmeryd hynny yn gurfa gystuddiol, ond yn ffafr ragorol. Y profedigaethau hynny, ydynt hamdden i aros hawddfyd ac i'w chwanegu: a chan barhau hyd y diwedd, hwy a gant eu gwobrwyau gogoneddus yn gynt ac yn helaethach. *Canys i chwi*, medd Paul, *y rhoddwyd bod i chwi, er Crist, nid yn unig gredu ynddo ef, ond hefyd ddioddef erddo ef*. Ac medd S. Iago, *cyfrifwch yn bob llawenydd, fy mrodyr, pan syrthioch mewn amryw brofedigaethau*. *Pan y'ch erlidir, ac y'ch gwaradwyddir o achos cyfiawnder*, medd ein Iachawdwr, yna tybiwch eich hunain *yn fendigedig; byddwch lawen a hyfryd, canys mawr yw eich gwobr yn y Nefoedd*. Ac felly y gwnai

Dat. 20. 4, 5.
Phil. 1. 29.
Iago 1. 2.
Mat 5. 10—12.

Act. 5. gwnai yr *apostolion* pan gurwyd hwynt yn y
40, 41. cynghor: *hwy a aethant o'u golwg yn llawen, am*
*eu cyfrif hwynt yn deilwng i ddioddef ammharch er*
Heb. 10. *mwyn enw Crist.* A'r *Hebreaid*, y rhai a *gymmerent*
34. *eu hyspeilio am eu golud yn llawen, gan wybod fod*
*iddynt olud gwell yn y nefoedd. ac un mwy parhaus.*

*Gof.* Eithr nid am broffessu enw *Crist* y mae llawer o ddrygau yn dyfod arnom ni, canys y mae Duw yn trefnu i bob un o honom ryw ran o drallod yn y byd hwn. A fydd i'r barnwr ar y dydd hwnnw bwyso y rhai hynny, gan ystyried amryw ddynion, y rhai a ddioddefant fwy tlodi, a thrais, a gwaradwydd, neu afiechyd, yn y byd hwn, nâ dynion da eraill, y rhai nid ydynt anwylach i Dduw nâ hwythau?

*At.* Yr ydwyfi 'n credu y bydd, canys nid yw efe *dderbyniwr wyneb.* Gan hynny, pan fo ddynion cystal, neu well o ran buchedd, nag eraill, hwy a ddisgwyliant yr un lwyddiant a'r lleill o'r brodyr. Ond os na chant hwy heddwch a llwyddiant yma, hwy a allant obeithio am helaethach rhan mewn amgen lle. *Lazarus*, yn lle y rhan fawr honno o
Luc 16. *adfyd yn y byd hwn*, a gafodd ran fawr o *wynfyd ym*
24. *mynwes Abraham.* *Gwyn eich byd y rhai ydych yn*
Luc 6. *dwyn tlodi a newyn yr awrhon, canys chwi a ddigonir,*
20, 21. *gwyn eich byd y rhai ydych yn wylo yr awrhon, canys*
*chwi a chwerddwch:* gan arwyddo'r cyfryw fendithion ac a baro iddynt dybio cystudd yn wynfyd, ac yn ffafr oddi wrth Dduw. A'r ddosparthiad hon (er y tybygid ei bod yn anwastad wrth drefn rhagluniaeth) a wneir yn gwbl wastad drwy wellhaad yr ail fyd. Canys *yna cyfiawnder Duw mewn*
Rhuf. 2. 5. *barn a ddatguddir*; ac a wneir yn adnabyddus, er nad adwaenid o'r blaen.

*Gof.* Os bydd i'r rhai da ei gael ef mor rasusol a hynny, pa fodd y digwydd i'r rhai drwg?

*At.* Y rhai hynny a gant eu barn yn dêg; a'u damnedigaeth yn gyfiawn! Canys er iddo gydddwyn

ddwyn â phob gwendid naturiol, a lwfio pob rhwystrau oddi allan, ac esgusodi pob tramgwydd-iad o anfodd, a maddeu holl bechodau'r edifeiriol: etto efe a ddial am bechodau gwirfodd yr anedifeir-iol yn ol eu haeddiant. *Canys efe a farn y byd mewn cyfiawnder.* Ac efe a ddywed wrth yr an-nuwiol, *Ewch oddiwrthyf chwi weithredwyr anwir-edd.* A phan ddel *y rhai a wnaethant dda i ad-gyfodiad bywyd*, yna yr â *y rhai a wnaethant ddrwg i adgyfodiad barn.* Act. 17. 31. Mat. 7. 23. Io. 5.29.

*Gof.* I ba ryw gospedigaeth y condemnir y tru-einiad hynny?

*At.* I'r holl blaau uffernol, lle y cnoir eu hys-prydoedd yn wastadol gan bry'r gydwybod, ac y llosgir eu cyrph a thân ysol. *Ewch chwi rai melldigedig i'r tân tragywyddol a baratowyd i ddia-fol ac i'w angylion.* Ie, hwy a gant ddioddef y tofter pan fo poethaf: wedi eu *bwrw i'r ffwrn dân*; ac i'r *llyn tân yn llosgi â brwmstan.* Ac yna gan *na ddiffydd y tân*, felly, *pry'r* gydwybod *nis bydd marw.* Mat. 25. 41. Mat. 13. 42. Dat. 19. 20. Marc 9. 44.

*Gof.* Pa bryd y dechreua'r trueni echryslon hwn arnynt hwy?

*At.* Pan gynted ac y cyhoeddir y farn ddychryn-adwy hon, *Ewch rai melldigedig i'r tân tragy-wyddol.* O ran wrth ei hollalluog *air* y mae efe yn gweithredu pob peth. Canys pan ddywedodd efe, *bydded goleuni*, neu ddaear, *felly y bu.* A phan ddywetto efe gyntaf, *Ewch chwi felldigedigion i dân tragywyddol*, (mewn ufudd-dod i'r holl awdur-dodawl air) daw tân yn ffaglu oddi ger ei fron ef i'r ddaear a'r awyr, lle y mae ei wrthwynebwyr yn aros, ac a ffagla bob dim o'u deutu, gan droi'r holl fyd isaf hwn yn un telpyn o dân (o her-wydd mae'n debygol nad rhaid wrtho mwy) yr hwn a ysa y rhai damnedig: Ar ddyfodiad *dydd yr Arglwydd, y defnyddiau gan wir wres a doddant*; a'r nefoedd a holltant gan *ymollwng a myned heibio* Mat. 25. 41. Gen. 1. 3, 9. 2 Ped. 3. 10, 12.

Adn. 13. *gyd â thwrfmawr. Y nefoedd a'r ddaear sydd yr awrhon*, medd S. Pedr, *ydynt wedi eu rhoddi i gadw erbyn dydd y farn, a distryw yr anwir ddynion.* Y tân yr hwn a dyrr allan oddi wrth Dduw ar y rhai
Dat. 20. 9—11, 14. annuwiol, a'u difetha hwynt mae'n debyg; *A'r tân yr hwn sydd yn dyfod oddiwrth Dduw i waered o'r nef, i ddifa ac i boeni'r diafol a'r rhai oll a dwyllwyd ganddo ddydd a nos yn dragywydd*, a wna i'r *ddaear a'r nefoedd sydd yr awrhon, ffoi ymaith*, (fel y tybygir wrth *S. Ioan*) ac ni adewir dim: *un*
Dat. 21. 1. *uffern ysol fydd y cyfan*, neu *fyd o dân byw a bery byth.* A phan ennyno hwn unwaith, ni wiw i'r trueiniaid angharjadus hynny weiddi ar y *mynydd-oedd a'r creigiau i syrthio arnynt a'u cuddio.* Canys
Dat. 6. 15, 16. pob ogof bellach sydd yn ffwrn, a phob bryn uchel yn fynydd o dân: yr holl fyd gan wres angerddol a dawdd, ac nis gellir teimlo na chanfod dim ond daear yn berwi oddi danynt, a thân yn ffaglu o'u hamgylch!

*Gof.* O! rasusol drugarowgrwydd Duw, yr hwn a amlygir y pryd hwnnw tuag at ei holl saint: Ac O! mor ddychrynllyd ei farn ar bechaduriaid anufudd? Ai ni ddylai'r ddisgwyliad am *y farn i ddyfod* beri i ni fod yn dra gofalus pa fodd y gwasanaethom *Grist* yn y bywyd hwn?

*At.* Dylai yn wir. Canys mae yn rhaid rhoddi cyfrif am ein holl feddyliau, geiriau, a gweithred-oedd. A thragywyddoldeb yn wynfyd, neu yn adfyd fy'n aros wrthym. Gan hynny, angen-rhaid i ni wneuthur pob peth yma mor ofalus, ac y bo (pan elwir am danom) i ni allu gwneuthur ein cyfrifon yn gysurus. A chan fod barn Duw yn arswydus i bechaduriaid annuwiol, *pa ryw fath*
2 Ped. 3. 11, 12. *ddynion a ddylem ni fod, mewn sanctieiddrwydd ymar-weddiad a Duwioldeb?*

*Gof.* Y dydd hwnnw (meddwch) a ddaw mor ddisymmwth a *lleidr yn y nos*; ac nid oes neb a wyr pa bryd. Ai ni ddylai hyn ein hannog ni i sicrhau

ficrhau ein heddwch â Duw bob dydd, a gofalu bob amser am fod yn *barod* erbyn y cyfrif mawr hwnnw?

*At*. Dylai, canys nid oes na lle nac amser ar ol hynny. Os ammharod fyddwn, nyni a geuir allan fel y *morwynion angball*, y rhai a welsant eu hesgeulusdra, ond nid mewn amser. *Gwyliwch gan hynny, am na wyddoch na'r dydd na'r awr y daw Mab y dyn.* Mat. 25. 11—13.

*Gof*. Gan fod y farn hon yn llaw *Crist* ei hun, (gan yr hwn y mae'r ddealltwriaeth a'r awdurdod) Ai ni ddylai hyn ein harswydo ni pan fyddom yn barnu neu yn beio y naill ar y llall?

*At*. Dylai yn wir, canys y mae *Crist* yn cyfrif hynny megis yn ormesiad ar ei swydd a'i awdurdod ef. *Pa ham yr wyti yn barnu dy frawd? neu pa ham yr wyt yn dirmygu dy frawd? Canys gosodir ni oll ger bron gorseddfaingc Crist. Pwy wyt ti yr hwn wyt yn barnu gwas un arall? i'w arglwydd ei hun y mae ef yn sefyll, neu yn syrthio.* Efe a ddywed i ni, mai am nad oes genym awdurdod, ein bod ni yn anghymmwys i farnu, o ran na allwn ni ganfod calonnau ein gilydd; A chan hynny nid oes genym farn gywir ar ddynion na'u gweithredoedd, megis y mae ganddo ef. *Na fernwch ddim cyn yr amser, hid oni ddelo yr Arglwydd, yr hwn a oleua ddirgelion y tywyllwch, ac a eglurha fwriadau y calonnau.* Rhuf. 14. 10. Adn. 4. 1 Cor. 4. 5.

*Gof*. Gan fod Duw yn addaw ymddiffyn y dieuog ger bron dynion ac angylion, gan wastattau pob peth wrth farnu: Ai nid ydyw hyn yn gefnogrwydd i ni dan bob achwyn a thraws-farn a ddigwyddo i'n herbyn yn y bywyd hwn?

*At*. Ydyw, canys y mae ef yn dangos yr uniawnir pob camweddau, ond dioddef o honom ychydig mewn amynedd. Ein diniweidrwydd a ddisgleiria'n loywach o herwydd y llen yn ei

guddio o'r blaen: megis y mae'r haul yn wresoccach pan êl y cwmmwl cyntaf oddi arno: canys
Sal. 37. 6. yna *efe a ddwg allan gyfiawnder fel goleuni, a barn fel hanner dydd.* Ac yn yr achos hwnnw, nyni a allwn ddywedyd bob un, fel y dywedodd S. Paul,
1 Cor. 4. 3, 4. *Bychan iawn genyf i'w fy marnu gan ddyn, eithr yr Arglwydd yw yr hwn sydd yn fy marnu.* Yr hwn ar fyr a adgyweiria bob camsyniad mewn dynolfarn, gan ddangos yn gyhoeddus i'r byd lle'r oedd y cam-gymmeriad yn gorwedd.



PENNOD

# PENNOD V.

## Am yr Yspryd Glan.

### Y CYNNHWYSIAD.

*Yr Yspryd Glan sydd Dduw. Yr hyn a weithredodd tuag at ein iachawdwriaeth ni. Ei ddoniau rhagorawl i'r apostolion a'r efangylwyr, yr hyn oedd i blannu ac i helaethu crefydd Crist.* I. *Dawn ysprydoliaeth mewn datguddiadau. Anfoniad hyn ar yr apostolion. Y datguddiadau hyn a anfonwyd ganddynt yn yr ysgrythyrau. Y ddawn hon o wybod crefydd trwy ddisymmwth ddatguddiad, oedd angenrhaid yn unig yn yr apostolion a'r efangylwyr: ac a amcanwyd at febyd yr eglwys. Rheolau eraill drwy ha rai y profir y goleuni newydd i ddatguddio crefydd. Eu profi drwy'r ysgrythyrau. Ymofyn am eu gwyrthiau, trwy ha rai yr oedd Duw yn rhoddi gallu i ddynion pan anfonai efe hwynt i ddatguddio pethau newyddion. Nid yw gwyrthiau yn angenrhaid pan fo ddynion yn cymmeryd arnynt ddim amgen nag adfywio hen ddatguddiadau cyfaddefadwy. Os dangosant wyrthiau ar bethau yn erbyn yr ysgrythyr, mae'n rhaid iddynt, wrth hyn, fod yn rhyfeddach na'r gwyrthiau sy'n cadarnhau'r ysgrythyrau. Hanes allan o* Joel *sydd (fel y mae yn debygol) yn crybwyll am arfer gyffredinol i ddatguddio crefydd ymmhlith y Cristianogion. Nid oedd y gwyr ysprydol yn arferu athrawiaeth yn unig, eithr defosiynau hefyd. Am bethau amserol. Y ddawn i adnabod ysprydion sydd wasanaethgar tan y ddawn o ddatguddiad. Hon yn cael ei chredu wrth reolau safadwy.*

Joel 2. 28, 29.

*fadwy. Dawn ymadrodd a hyfder. Nid oedd eu meddyliau dan yr heolaeth hon bob amser o'r blaen: Eithr ar ryw amserau yn unig, sef wrth achosion. 2. Dawn gwyrthiau. Y gwyrthiau hyn yn profi datguddiad nefol. Rhagoriaeth rhwng y rhai hyn a rhyfeddodau gau, wrth yr athrawiaeth a fyddont yn ei ddysgu, a llesshaad eu hamcanion. Ac o'u gweithredu mewn achosion cyfreithlon ac angenrhaid. Y ddawn i iachau clefydon. Perffeithio hon weithiau trwy enneiniad ag olew. A gweddiau. Am fwrw allan gythreuliaid, a gwyrthiau eraill. Rhoddi drafodd i Satan, pa beth ydoedd hynny, a pha ham y galwyd felly. Llawenhau mewn adfyd. Yr apostolion yn rhagorol am hynny. Angenrhaid oedd bod ffydd gan y rhai a weithredent Wyrthiau, a chan y rhai a oeddynt tan eu dwylaw hwynt. 3. Dawn amryw ieithiau. Yr achos i hynny. Dawn deongli ieithiau. Y meddwl o fod yr Yspryd Glan yn Ddiddanydd. Y pechod yn erbyn yr Yspryd Glan sydd bechod yn erbyn y doniau rhagorol hyn. Paham y mae cabledd yn erbyn yr Yspryd Glan yn fwy anfaddeugar nag yn erbyn y Tad a'r Mab. Nid ydyw doniau rhagorol yn cyfiawnhau cyflwr neb. Y swyddau a bennodwyd gan yr Yspryd Glan, Rhai o honynt yn amserol, eraill i barhau bob amser, gan fod swyddogion presennol i ordeinio ac i urddo rhai eraill drwy rad yr Yspryd Glan, i fod yn sefydlog ar eu hol. Wrth y rhai hyn y gwyddom ei fod ef yn trigo ynom ni. Ein gofalon fydd angenrhaid yn y pethau hyn. Am ras yn rhagflaenu mewn manteisiau oddi allan, o chynnyrfiadau da oddifewn. Y modd i geisio gras achubol mewn chwe ryw foddion. Y modd y mae Duw yn rhoddi gras, Yr Yspryd Glan yn gweithredu ynom ni lawenydd a diddanwch ysprydol. Yn gweithredu mo hynny ymmhob meddyliau sanctaidd, oblegid fod rhai yn anghymmwys o ran rhyw wendid corphorol. Nis gwaharddir*

*gwabarddir gras rhag neb drwy ewyllys Duw, neu ymwrthodiad ysprydol, fel y geilw rhai.*

## Y Bennod yn canlyn.

*Gofyn.* PA beth yw yr wythfed bann o'r *credo?*

*At. Credaf yn yr Yspryd Glan.*

*Gof.* Y mae rhai yn tybied nad yw yr Yspryd Glan amgen nâ *gallu* a *rhinwedd* y Duwdod: Ai nid yw yr ysgrythyrau yn crybwyll am dano megis am *berson* yn y Drindod?

*At.* Ydynt, a hynny, nid yn unig wrth son am dano yn gyffredinol, eithr mewn modd naturiol. *Ond pan ddel efe, sef Yspryd y gwirionedd*, medd ein Iachawdwr, *efe a dystiolaetha am danaf fi*, ac *efe a ddysg i chwi yr holl bethau*. Felly hefyd y cyfrifir ef yn *berson* pan wnelir rhyw beth *yn ei enw ef*; a phan gyfrifir ef yn gyfrannog ag *eraill*, y rhai a gyfrifir bob un yn *berson*; a hefyd pan fo efe yn cyd-weithredu, i'r hwn (yn gystal a'r lleill) yr ydym yn rhwymedig mewn addoliad grefyddol, lle yr ydym yn dechreu ein cyfammod â Duw, yr hwn a wnair ar y tri *enw* ynghyd, sef *y Tad a'r Mab a'r Yspryd Glan*. Dywedir hefyd ym mhellach fod iddo *gorph gweledig*, yn yr hwn y gwelodd *Ioan fedyddiwr ef yn disgyn megis colommen o'r nef, ac yn aros ar ein Iachawdwr* pan *fedyddiwyd ef*. Canys pan ddisgynodd yr Yspryd gan aros ar y Mab, y Tad a roddes ei lef gan ddywedyd. *Hwn yw fy anwyl fab yn yr hwn y'm bodlonwyd*. Personau y Duwdod a gymmerasant gyrph dynol ar amserau, megis y mae son am *Fab Duw* yn yr hen *Destament*, ond mewn drychiolaeth ogoneddus yr yr ymddangosent fynychaf, megis goleuni a thân, yr hyn oedd yr arfer gynnefinol o'u presennoldeb (fel y dywed efengyl y *Nazareniaid*, wrth gry-

Io.16.13. Io.15.26. Io.14.26. Mat. 28. 19. Luc3.22. Io. 1. 32, 33. Mat. 3. 16. Marc 1. 11. Dan. 3. 25.

bwyll am ddisgyniad yr *Yspryd Glan*) sef * *yn ddisym-*
*mwth y tywynnodd goleuni mawr o amgylch y lle: a*
*thân a oleuodd yn yr Iorddonen*, fel y tystiolaethodd
*Cwstennyn fawr.* Yr Yspryd Glan hefyd a elwir
1 Io. 5. 7. yn un o'r *tri pherson sy'n tystiolaethu yn y nef.* Y
Ephes. 4. mae efe hefyd yn ddarostyngedig i *dristwch. Yr*
30. 1 Cor. 2. *Yspryd sydd* hefyd *yn chwilio pob peth: ie dyfnion*
10. *bethau Duw hefyd:* megis yn *dysgu*, yn *tywys*,
Io. 14. 26. yn *tystiolaethu*, yn *ceryddu*; yn rhoddi *daioni a*
Io. 16. 13. *gras*, yn ordeinio *swyddau* i ddynion, gan wneu-
Io. 15. 26. Esa. 63. thur *esgobion o honynt yn yr eglwys.* Y mae efe
10. hefyd yn cael ei anfon oddi wrth y *Tad* a'r *Mab*,
1 Cor. 12. yr hwn a gymmer o eiddo'r *Tad* a'r *Mab*, gan
4. 11. wrando, a derbyn oddiwrth y naill a'i fynegi
Act. 20. 28. wrth y llall. Eithr gallu a rhinwedd sy'n ddiffyg-
Io. 16. 14, iol o weithredu'r hyn lleiaf o'r pethau hyn heb
15. fod o sylwedd personol. Ar fyr, nid yw yr
*Yspryd Glan* lesol i ni ddim hwy nag y bo i ni
ufuddhau iddo; Efe sydd hefyd yn cyfrannu ac
yn attal ei ddoniau, gan roddi mwy i'r naill a
llai i'r llall, megis y mae efe yn gweled yn oreu:
1 Cor. 12. *gan rannu i bob un o'r nailldu, megis y mae yn*
11. *ewyllysio.*

Act. 5. 3, 4. *Gof.* A ydyw yr Yspryd Glan yn wir Dduw?
1 Cor. 3. *At.* Ydyw: canys *dywedyd celwydd wrth yr*
16. *Yspryd Glan*, a elwir yn *ddywedyd celwydd wrth*
1 Cor. 2. *Dduw.* Ac o herwydd mai *teml yr Yspryd Glan*
10, 11. Sal. 139. yw'r *Cristianogion* y dywedir mai *teml Dduw* ydynt.
7. A phob hawl briodol i'r *Duwdod* a gyfrifir iddo
Heb. 9. ef: megis yn *gwybod pob peth*; yn *bresennol ym mhob*
14. Gen. 1. 2. *man* yn *dragywyddoldeb*, yn *creu'r byd* yn un â Duw
Job 26. yr hwn ni *ryda ei ogoniant i arall*, yn sylwedd *ffydd*
13. ac *addoliad*; yn y *bedydd* hefyd, a'r holl *fendithion*
Esa. 42. 8. apostolaidd.
Pen. 48. 11. *Gof.* Gan fod y *Tad a'r Mab a'r Yspryd Glan*
Mat. 28. yn *Dduw*, Ai nid oes gan hynny dri Duwiau?
19 *At.*
2 Cor. 13. 14.

* Dial. cum Tryph. *p.* 315.

*At.* Nag oes, oblegid y mae y *rhai hyn yn* ‖ *un*, hynny yw, un mewn nattur, neu un peth. Y mae tri o berſonau, eithr y mae y tri hyn o ddirgel undeb mewn nattur a pherthynas, yr hyn ſy'n gwneuthur un Duwdod, ac nid tri Duwiau.

*Gof.* Eithr pa ham y gelwir ef yn *ſanctaidd* mwy nâ'r Tad a'r Mab? gan fod ſancteiddrwydd yn cael ei chyfrif yn un o'r priodoliaethau duwdodawl, ai nid ydyw yr holl dri pherſonau, gan eu bod yn ogyfuwch mewn Duwdod yn ogyfuwch mewn ſancteiddrwydd hefyd?

*At.* Ydynt. Ond er eu bod yn ogyfuwch mewn ſancteiddrwydd o ran nattur a hanfod, ei ſancteiddrwydd ef ſydd fwy o ran ei weithredoedd. Canys fel y cymmerth Duw'r *Tad* greadigaeth dynion mewn llaw, a Duw'r *Mab* eu prynedigaeth, felly y cymmerodd Duw'r *Yſpryd Glan* eu ſancteiddiad, gan fod bob amſer yn barod i weithredu ſancteiddrwydd yn y rhai a fyddont yn ofni Duw, ac yn gwaſanaethu ein *Harglwydd Ieſu Griſt*. *Achubwyd ni drwy adnewyddiad yr Yſpryd Glan*: a *phurwyd ni trwy'r Yſpryd Glan.* Tit. 3. 5, 6. 1 Pedr 1. 22.

*Gof.* Pa ham yr ydym ni yn proffeſſu ffydd ac ymddiried yn yr Yſpryd Glan?

*At.* Oblegid ein bod ni yn derbyn pob gras a pharottoad i ogoniant tragywyddol oddi wrtho ef. Canys ar ol i *Griſt* ein prynu ni â'i *waed*, ac eſgyn i'r nef, pa beth bynnag ychwaneg a'r oedd i'w wneuthur tuag at ein iachawdwriaeth yma ar y ddaear, a roddwyd ar yr *Yſpryd Glan*, i'r hyn yr anſonwyd ef gan *Griſt*, yn ei le ei hun, i finiſtrio pa beth bynnag a'r adawſai efe yn ol ar ei gorph, ſef yr *eglwys*, gan ei pherffeithio mewn *ffydd a ſancteiddrwydd*.

*Gof.* Wrth hynny, y mae rhan fawr o'r wybodaeth Griſtianogol yn ſefyll ar ddirnad pa beth a wnaethpwyd, ac ſydd i'w wneuthur o hŷd gan

yr

‖ *Fr*, 1 Io. 5. 7.

yr Yspryd sanctaidd erom ni. Eithr pa ryw gynnorthwy a gafwyd ganddo er mwyn perffeithio'r gwaith hwn?

*At*. Dwy fath ar *roddion*. Yn gyntaf, rhodd *anarferol* i'r *apostolion* a'r *efangylwyr* i sylfaenu *eglwys Crist*, ac i blannu ei *grefydd*. Yn ail, rhodd *gyffredinol*, yr hon a roddir i bawb eraill er *iachawdwriaeth*.

*Gof*. Pa ryw roddion anarferol a roddwyd i'r apostolion?

*At*. Nid *rhoddion* oeddynt yn unig, eithr *swyddau* hefyd dan ei awdurdod ef.

*Gof*. Pa rai ydynt?

*At*. Dawn *ysprydoliaeth*, drwy'r hon y daeth y grefydd Gristianogol i'r *apostolion* eu hunain. A dawn *gwyrthiau*, y rhai oeddynt gynnorthwy iddynt, oblegid eu bod yn brawf ddiwâd i eraill. A dawn *tafodau*, neu amryw ieithiau, fel y gallent gyhoeddi'r *efengyl* i'r holl fyd.

*Gof*. Pa bryd y rhoddwyd y doniau anarferol hynny?

*At*. Yn gyntaf, ar *ŵyl y Pentecost*, i'r *deuddeg*,
Act. 2. 3. pan *ddisgynodd yr Yspryd Glan ar bob un o honynt mewn dull tafodau gwahanedig*. Ac ar ol hynny yn gyffredinol ar *eraill* drwy arddodiad dwylaw fel y dengys *S. Luc* yn *Actau'r Apostolion*.

*Gof*. A hyn oll, meddwch, a wnaethpwyd er mwyn cefnogi yr apostolion i blannu a sefydlu crefydd?

*At*. Ie, drwy'r *doniau* hyn, y rhai a elwir yn
Act. 1. 4. *addewidion y Tad*, sef yr *Yspryd* a addawsai *Grist*
Io. 15. 26. *anfon oddiwrth y Tad*. Yr *Yspryd Glan* oedd i
1 Io. 2. 1. gymmeryd lle *cyfryngwr*, megis y mae'r gair *Paraclete** yn y *groeg*, yn arwyddoceau: Yr hyn oedd i ddadleu ei achos ef yn y byd anghredadwy.
Io. 16. 8—11. Canys *pan ddel y Diddanydd*, neu'r Cyfryngwr hwn, medd ein Iachawdwr, efe a *gerydda*, neu argyoedda'r

* παράκλητος.

argyoedda'r *byd* o'r tri pheth hyn, sef *o bechod, am nad ydynt yn credu ynof fi:* megis y pechod anghreduniaeth: *o gyfiawnder, am fy mod yn myned at fy Nhad*, neu am fy mod i yn wr cyfiawn, a bod Duw yn fy nerbyn i fel y cyfryw un, er bod i'r *Iuddewon* fy nghondemnio megis drwg weithredwr. Ac *o farn, oblegid tywysog y byd hwn a farnwyd*, hynny oedd cwymp y *gau dduwiau* a'r *demoniaid:* canys y *cythraul* a fwriwyd allan o demlau'r cenhedloedd gan y cyfryngwr galluog hwn; a'r *oraclau* a ddistawyd.

*Gof.* Y gyntaf, meddwch, o'r doniau hyn a roddwyd i'r apostolion, oedd dawn *ysprydoliaeth*, yr hon a ddatguddiodd grefydd *Crist* yn gyflawn iddynt hwy eu hunain. A fu i'r apostolion dderbyn eu crefydd oddiwrth Dduw? neu ai drwy ei ddawn ef, sef yr Yspryd Glan, yr addysgwyd hwynt?

*At.* *Yr holl ysgrythyrau sydd wedi eu rhoddi gan ysprydoliaeth Duw.* Yn y modd hyn y bu i Dduw ysprydoliaethu *Moses* a'r *prophwydi.* *Gan wybod hyn, nad oes yr un brophwydoliaeth o'r ysgrythyr o ddeongliad priod. Canys nid trwy ewyllys dyn y daeth gynt brophwydoliaeth*, hynny yw, nid wrth eu meddyliau eu hunain yr oedd y prophwydi yn llafaru, *eithr dynion sanctaidd Duw a lafarasant megis y cynnhyrfwyd hwy gan yr Yspryd Glan.* Ac wrth yr un moddion y mae *Crist* yn addaw i'w *apostolion* fod i'r *Yspryd Glan* eu dysgu hwythau. *Yr Yspryd Glan, pan ddel, a ddysg i chwi yr holl bethau, ac a ddwg ar gof i chwi yr holl bethau a ddywedais i chwi.* *A phan ddel efe, sef Yspryd y gwirionedd, efe a'ch tywys chwi i bob gwirionedd.*

2 Tim. 3. 16.
2 Pedr 1. 20, 21.
Io. 14. 26.
Io. 16, 13.

*Gof.* Ai nid oedd *Crist* wedi eu dysgu hwynt tros amryw flynyddoedd olynol? Gan hynny pa ham yr oedd yn rhaid i'r Yspryd Glan ddyfod ar ei ol ef i'w dysgu hwynt?

*At.*

*At*. *Crist* a'u dysgodd hwynt â moddion dynol oddi-allan, megis y naill ddyn yn dysgu'r llall. Ac er iddo ef gymmeryd gofal mawr ar gymmhwyso yr addysg iddynt, nid oeddynt hwy, ar ol y cwbl, ond dynion dylion anghofus, yn dueddol i gam ddirnad: megis y mae yn amlwg nad oeddynt yn iawn ddeall nattur ei *deyrnas* ef, na'r *achos o'i farwolaeth*, na'i *adgyfodiad*. Eithr pan ddaeth yr *Yspryd Glan* arnynt hwy, efe a agorodd eu dealltwriaeth, ac a lanwodd eu meddyliau o bob nefol athrawiaeth, gan ddwyn ar gof iddynt yr
Io. 16. hyn a ddywedasai *Grist*, a'u llenwi â phob peth
12, 13. a'r a gadwasai efe oddi wrthynt yn bwrpasol, nes y byddent yn fwy cymmwys i'w dderbyn. Ac er nad ar unwaith y bu i'r *YsprydGlan* ddysgu pob
Act. 10. a peth iddynt, etto nis gwyddent oddi wrth *alwad y*
Phen. 11. *Cenhedloedd* dros ryw hyd ar ol ei ddyfodiad ef: Er hynny, megis mewn munudun, y daeth y cyfryw lwyddiant yn eu mysg a wnaeth iddynt (drwy
Act. 2. esponio'r *ysgrythyrau*, a deongli *prophwydoliaethau*) fod yn gymmwys i ddysgu eraill.

*Gof*. Ai oddi wrth ddawn yr *Yspryd Glan* y caent hwy y wybodaeth hon?

*At*. Ie, ar ol iddynt unwaith fyned dan ei athrawiaeth ef: Moddion eu *gwybodaeth* (megis y dywed *S. Ioan* wrth yr *eglwys*) oedd drwy'r
1 Io. 2. *enneiniad oddi wrth y sanctaidd hwnnw*. *A'r efengyl*
20, 27.
Gal. 1. 11, *a bregethwyd genyf fi*, medd S. Paul, *nid yw hi*
12. *ddynol*, sef nid dychymmyg dyn yw hi, *canys nid gan ddyn y derbyniais i hi*, *nac y'm dysgwyd*, *eithr trwy ddatguddiad Iesu Grist*. Ac yr ydys yn cyfadd-
2 Tim. 3. ef fod yr *ysgrythyrau* wedi eu *rhoddi drwy ysprydol-*
16. *iaeth Duw*.

*Gof*. Amlwg yw eu bod yn cyfaddef mai Duw oedd yn eu dysgu hwynt a'i ysprydoliaeth. Eithr ai nid oes i ni ychwaneg o dystiolaeth ysgrythyrol nâ'u geiriau hwynt?

*At*.

*At.* Oes, y mae'r *gwyrthiau* a wnaethpwyd gan yr *apostolion* yn dystiolaeth. *Hwy a bregetha-* Marc 16.
*sant ym mhob man, a'r Arglwydd yn cadarnhau'r gair* 20.
*trwy'r arwyddion y rhai oedd yn canlyn.*

*Gof.* Mysi a welaf fod yr Ysbryd Glan yn datguddio ewyllys Duw iddynt hwy; ac iddynt hwythau drwy'r ysgrythyrau, ei ddatguddio i ninnau. Eithr a oedd dim byrdra yn yr ysgrythyrau hynny?

*At.* Nag oedd: canys yn yr *epistol* diweddaf a ddanfonodd *S. Paul* at *Timotheus* (pan oedd y rhan fwyaf o'i *epistolau* ef, ac o'r *canonau* efangylaidd wedi eu hysgrifennu o'r blaen) mae ef yn cyhoeddi fod hynny oedd o'r *ysgrythyrau* allan y pryd hwnnw,
yn ddigon i wneuthur pob dyn yn *ddoeth i iachaw-* 2Tim. 3.
*dwriaeth*, gan eu bod yn *fuddiol i athrawiaethu i* 15—17.
*argyoeddi, i geryddu, ac i hyfforddi mewn cyfiawnder: fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio* drwy'r ysgrythyrau, *i bob gweithred dda.* Ie, ymbell *ddarn* yn unig o'r *efengyl* sydd ddigon i'r pwrpas hwnnw. Ac oblegid hynny, y mae *S. Luc* yn tystiolaethu am ei *efengyl*, ei bod yn cynnwys
ynddi *yr holl bethau ac a ddylai Gristianogion eu cre-* Luc 1. 1,
*du*, ym mha bethau *yr oedd Theophilus* (yr hwn oedd 3. 4.
ardderchawg mewn gwybodaeth iachusol) *wedi*
*ei feithrin a'i ddysgu. A'r holl bethau a ddechreuodd* Act. 1. 1,
*yr Iesu eu gwneuthur a'u dysgu hyd y dydd y derbyn-* 2.
*iwyd ef i fynu.* Pob peth angenrheidiol i Gristianogrwydd a bregethwyd yn ffyddlon gan *Iesu Grist* ei hun. Yr *efengyl* hefyd sydd yn dangos ei fywyd a'i bregethiad ef: Ac nid oedd yr hyn a chwanegwyd gan *S. Luc* yn yr Actau, amgen nâ hanes y moddion a gymmerwyd gan yr *apostolion* i ddwyn eu gwaith i ben:, a'u blinfyd a'u dioddefiadau, a'u llwyddiant hefyd yn pregethu'r athrawiaeth hon. A'r *epistolau* a 'sgrifennwyd, rhai yn ddamweiniol, ac eraill wrth achosion, er lles i'r *eglwysi*, neu i eglurhau a gwastattau rhyw ddadl-

euon

euon yn yr *eglwys*, neu ynte i orchfygu rhyw opiniynau llygredig a gau gred yn erbyn y *gwirionedd*: fel y gwel y sawl a'u darlleno yn ystyriol.

*Gof.* Gan gael yr ysgrythyrau hyn wedi eu trefnu i ni trwy ras Duw, nid rhaid i ni ymofyn am yr un *datguddiad newydd*?

*At.* Na raid o ran y modd i wasanaethu Duw ac i ynnill y nef. Ein *prophwyd* mawr, sef *Iesu Grist*, yr hwn oedd i *selio gweledigaethau a prophwydoliaethau* a roddes ei yspryd i'w *apostolion*, ac a ddatguddiodd yr holl bethau hyn unwaith i ni drwyddynt hwy: gan hynny, peth ofer i ni ddisgwyl iddo ef wneuthur hynny drachefn, o herwydd (yn wir) nad oes mor achos.

Dan. 9. 24.

*Gof.* Nid oedd dawn ysprydol ynte, yn angenrhaid i neb ond i'r apostolion a'r efangylwyr yn unig, y rhai a'i derbyniasant oddi wrth Dduw?

*At.* Nag oedd yn wir. Eithr ar ol hynny wrth drefnu'r *doniau* a'r *swyddau* (*yn y ddeuddegfed bennod o epistol cyntaf S. Paul at y Corinthiaid*) *ymadrodd doethineb* yw'r *ddawn* gyntaf yn y *cofrestr*: Ac y mae *Paul* yn cymmeryd honno, gan ei fod yn fwyaf cyfaddas iddi. Nid oedd *ysprydoliaeth* amgen nag i'w graddu hwynt yn eu swyddau. A hyn (mae'n debygol oedd meddwl *S. Ioan* wrth grybwyll am *enneiniad*, yr hyn oedd arferedig wrth eu hurddo gynt yn eu *swyddau*, ac yn yr *offeiriadaeth* a'r *brophwydoliaeth* yn enwedig. Eithr y mae *S. Paul* yn cyfrif ei awdurdod ei hun yn *apostolaidd* oddi wrth ei rybudd o'r *nef*: Canys ei *efengyl ef nid oedd o ddynion*, eithr hi a anfonwyd gan Dduw drwy *ddatguddiad ddigyfrwng* iddo ef. Ac ni wnaethpwyd addewid y byddai i neb o'r *Cristianogion*, ar ol yr *apostolion*, dderbyn *yr Yspryd Glan i ddysgu iddynt bob peth, gan eu tywys hwynt i bob gwirionedd*, eithr yn unig iddynt hwy, â pha rai yr oedd ein *Iachawdwr* yn ymddiddan. *Yr enneiniad yn eu plith* (drwy'r hyn yr oeddynt yn *gwybod* pob

1 Cor. 12. 8, 28.

1 Io. 2. 20

Gal. 1. 11, 12. 15—17.

Io. 14. 26. Pen. 16. 13.

1 Io. 2. 20

*pob peth*, medd *S. Ioan*) oedd yn ei amser ef a'r *efangylwyr* eraill. Ac yr ydys yn meddwl mai ynghylch y rhai diweddaraf o lyfrau'r *testament newydd* yr ysgrifennodd *Ioan* ei *epistolau*. Gan hynny mae'n debygol gael o'r llyfrau hyn *ysprydoliaeth* yr *apostolion* eraill, o hynny yn helaethach.

*Gof*. Wrth hynny, nid oedd ysprydoliaeth amgen nag i hyfforddio crefydd yn ei dechreuad?

*At*. Felly nid oedd. *Ysprydoliaeth wybodaeth prophwydoliaethau, a thafodau* (medd *S. Paul*) a gymmhwysfwyd yn unig at ddechreuad yr *eglwys*; A dyma'r gyffelybiaeth, wrth yr hon yr arfera efe ddangos fyrred parhaad y doniau hyn, sef *pan oeddwn facbgen, fel bachgen y llafarwn, fel bachgen y meddyliwn, &c.* Eithr yr ymgeledd angenrhaid i'r oedran hon oedd, diflannu ymaith gyd â'r cynnyddiad: megis, *pan aethum yn wr, mi a rois heibio bethau bachgenaidd. O ran y gwyddom, ac o ran yr ydym yn prophwydo:* sef, nid yw'r goleuni yr awrhon ond ammherffaith, oblegid ysgrifennu'r epistol hwn ar y dechreu, pan oedd y *canon ysgrythyrol* heb ei orphen a'i roddi ar led. Eithr *pan ddelo'r hyn sydd berffaith*, (y mae'r *awdur* yn meddwl nad perffeithrwydd y byd arall yn unig, eithr perffeithrwydd cyflwr yr eglwys Gristianogol) neu pan orphenir y *canon* a'i roddi allan, *yna'r hyn sydd o ran a ddileir*. Eithr y glain iachus hwnnw, sef *cariad* (ym mysg eraill o'r grasau achubol) *ni chwymp ymaith, eithr pa un bynnag ai prophwydoliaethau, hwy a ballant, ai tafodau, hwy a beidiant, ai gwybodaeth* ysprydol, *hi a ddiflanna*.

1 Cor. 13. 9, 11.

Adn. 9.

Adn. 10.

Adn. 8.

*Gof*. Os dilyn Cristianogrwydd a wnawn, rhaid i ni ddilyn yr ysgrythyrau, oblegid ni wiw i ni ymorol am ddatguddiadau newyddion, oddieithr i ni ymorol am grefydd arall, ac apostolion newyddion hefyd?

*At*. Na wiw, yn wir.

*Gof.* Y mae hyn yn ddigon o reswm yn erbyn y sawl a wnelo esgus o'r *goleuni newydd*, neu ddatguddiadau newyddion mewn crefydd. Ond o herwydd fod llawer o'r rhai hynny yn y wlad, pa fodd yr adwaenir hwynt rhag eraill?

*At.* Profwch hwy yn gyntaf wrth yr *ysgrythyrau*, gan osod y datguddiadau *newyddion* hynny gyferbyn a'r *hen* rai gynt, ac yna cewch weled mai dychymygion dynol ydynt, neu hudoliaeth
Gal. 1.8. 9. Satan yn hytrach. Oblegid *pe byddai i ni, neu i angel o'r nef efangylu i chwi amgen nâ'r hyn a efangylasom i chwi* o'r blaen, sef yr hyn a osodwyd yn yr ysgrythyrau, *bydded * anathema. Megis y rhag ddywedasom, felly yr wyf yr awr hon drachefn yn dywedyd, os efangyla neb*, (dyweded a fynno trosto ei hun a'i ddatguddiad) *i chwi amgen nâ'r hyn a dderbyniasoch, bydded anathema.*

*Gof.* Mewn pa ryw fodd arall y profir y rhai lledrithiol hyn?

*At.* Yn ail, gofynwch am eu *harwyddion* a'u *gwyrthiau* i ddangos fod Duw yn eu hanfon hwy. Canys y rhai a anfonid gynt gan Dduw ar y cyfryw achosion, a dderbynient awdurdod i wneuthur gwyrthiau ac arwyddion, fel y credid iddynt yn fwy. Megis pan anfonwyd *Moses* gan Dduw at yr *Israeliaid*, nid ai efe attynt, gan ddywedyd,
Ecs. 4. 5—10. *wele ni chredant i mi, ac ni wrandawant ar fy llais, ond dywedant, nid ymddangosodd yr Arglwydd i ti. A'r Arglwydd* (gan weled nad oedd yr esgus heb achos) a roddes iddo awdurdod i *droi ei wialen yn sarph*; ac i wneuthur arwyddion eraill er peri iddynt goelio. Megis y dywedodd yr Arglwydd wrth Foses, *fel y credant ymddangos i ti o Arglwydd Dduw eu tadau. A bydd oni chredant i ti ar ol yr arwydd cyntaf, etto y credant i lais yr ail arwydd. A bydd oni chredant hefyd i'r ddau arwydd hyn, y bydd i ti wneuthur arwydd arall* hefyd.

*Gof.*

* Felldigedig.

*Gof.* A oes tystiolaeth ychwaneg genych nâ hyn?

*At.* Oes *yng Nghrist* ei hun. Canys efe ni cheisiodd gan bob dyn gredu iddo heb *wyrthiau*, er dyfod yn enw Duw; a chan hynny nid rhaid mor credu lledrithwyr (a font yn son am ddatguddiadau newyddion) hebddynt. *Oni bai wneuthur o honof yn eu plith y gweithredoedd ni wnaeth neb arall, ni buasai arnynt bechod* am anghreduniaeth. Io. 15. 24.

*Gof.* Ai dyna arfer y prophwydi, ynte, pan ofynid iddynt?

*At.* Ie, pan anfonid hwynt i ddatguddio rhyw *beth newydd*. Eithr pan ddeuent yn unig i bregethu *hen ddatguddiadau*, y rhai a fyddent wedi eu cadarnhau o'r blaen, ni byddai raid mor dangos arwyddion. A dyna gyflwr amryw *brophwydi* cyffredinol ym mhlith yr *Iuddewon*, y rhai a anfonai Dduw yn bendant, gan eu cynhyrfu i grybwyll am ryw esgeulustra, yn enwedig mewn perthynas i'r *gyfraith*. Eithr pan ryfygai neb ddyfod drwy awdurdod newydd, gan wrthwynebu yr hen athrawiaeth, a gosod un newydd i fynu, hwy a dderbynient awdurdod i wneuthur arwyddion a gwyrthiau. A dyna'r prawf yr oedd Duw yn ei roddi o hynodrwydd arnynt, i gael gwybodaeth ai anfonedig fyddynt oddi wrth Dduw, ai nid ê. *Os dywedi yn dy galon, pa fodd yr adnabyddwn y gair ni lafarodd yr Arglwydd? Yr hyn a lafaro'r prophwyd hwnnw yn enw'r Arglwydd, a'r gair heb fod, ac heb ddyfod i ben, hynny yw'r gair ni lafarodd yr Arglwydd; y prophwyd a'i llafarodd mewn rhyfyg; nac ofna ef.* Deut. 18. 21, 22.

*Gof.* Gan hynny nid oedd yr un prophwyd a ryfygai ddatguddiad newydd, i'w goelio heb ryw arwydd oddi wrth Dduw?

*At.* Nag oedd, nid oedd *Iesu Grist* ei hun yn ceisio mo'i goelio heb arwyddion. *Os ydwyf fi yn tystiolaethu am danaf fy hun, nid yw fy nhystiolaeth* Io. 5. 31, 32, 36.

*i yn wir:* hynny yw, nid yw yn haeddu derbyniad. *Arall sydd yn tystiolaethu am danaf fi, canys y gweithredoedd a roddes y Tad i mi i'w gorphen, y gweithredoedd hynny, y rhai yr ydwyfi yn eu gwneuthur, sy'n tystiolaethu am danaf fi, mai'r Tad a'm hanfonodd i.* A hyn sydd angenrhaid rhag ein
1 Io. 4. 1. twyllo ni, *oblegid y mae gau brophwydi lawer wedi myned allan i'r byd.* A'r rhai hynny hefyd a ddeuant yn enw Duw, er nad yw'r peth y maent hwy yn ei lafaru o'i ddatguddiad ef, eithr o'u dychymygion eu hunain, neu yn hytrach o hudoliaeth Satan. A phed fai i ni ond coelio un o honynt ar ei air, ni byddai ond yr un peth i ni goelio'r cwbl. Gan hynny (i ochelyd twyll) na choeliwn wr a ddywetto ei fod ef wedi ei anfon oddi wrth Dduw, nes iddo ddangos rhyw arwydd o dystiolaeth.

*Gof.* Gan fod iddynt wyrthiau i'w cynnorthwyo pan anfonir i ddatguddio rhyw newyddbeth, ai nid ydyw mor angenrhaid wrth arwyddion a rhyfeddodau pan fo iddynt ddyfod i dynnu ymaith lygredigaeth, ac i adfywiogi'r cyfryw hen ddatguddiadau, y rhai a sicrhawyd o'r blaen drwy arwyddion?

*A.* Nag ydyw. Mae gan *air Duw* yr un awdurdod a'i *weithredoedd*, gyd â'r rhai a gyfaddefant mai efe a'i llafarodd: a thra byddo ganddynt ei *air* ef droftynt eu hunain, y mae ganddynt ddigon awdurdod (gan arferyd ei *enw* ef) i geryddu neu i gyhoeddi megis *gweinidogion cyffredinol*, heb ddangos dim *arwyddion.* Ac heblaw hynny, mae'n hawdd iddynt alw yr hen wyrthiau gynt yn eu plaid. Canys dyna'r modd y byddai i'r hen *brophwydi* yn nyddiau yr *Iuddewon* ddyfod i droi dynion mewn ufudd-dod i gyfraith *Moses*, gan geryddu pechodau, a diwygio cam arferion, heb ddim gwyrthiau gan fod y gwyrthiau gynt yn ddigon. A hynny oedd gyflwr y *gwyr bucheddol*

a fuant

a fuant gynt yn diwygio ein *crefydd ninnau:* nid oeddynt yn astudio am eu harwain at ffordd newydd, eithr am adferu'r hen grefydd yn unig (yr hon oedd wedi llygru'n fawr o fewn y parthau hyn o'r byd) gan ei dwyn mor agos ac oedd fodd i'r drefn y gosodwyd hi ynddi gan *Grist a'i apostolion.* Gan hynny, nid oedd raid dangos arwyddion a rhyfeddodau yn hyn, megis rhai yn dwyn i fewn ryw bethau newyddion, neu ordinhadau heb dystiolaeth, eithr dangos yn unig mai gwyrthiau yr *Yspryd Glan* oeddynt.

*Gof.* Ai ni chrybwyllir am *gau brophwydi* yn *dangos arwyddion:* a pha beth a ddywedir am danynt hwy mewn perthynas i arwyddion ffeilsion? Dat. 13. 13, 14. Pen. 16. 14.

*At.* Os dysgant ryw bethau anghyttunol â'r ysgrythyrau, rhaid iddynt wneuthur mwy gwyrthiau nâ *Christ a'i apostolion:* oblegid yr holl wyrthiau hynny a weithredwyd i gadarnhau'r ysgrythyrau, sydd yn eu herbyn hwy, o ran fod eu gwyrthiau lledrithiol hwy yn erbyn yr ysgrythyrau. A phan brofir ein ffydd drwy ymryson gwyrthiau (megis y profwyd ffydd yr *Iuddewon* yn yr ymrysonfa rhwng *Moses* a'r *swynwyr*; a phan fyddai i unrhyw *hudolwr* roddi arwyddion i hudo dynion at *eilunod*) nid rhaid i ni amgen nâ chredu i'r gwyrthiau a font yn rhagori o ran tegwch a mawrhaad: a hynny sydd ddigon i'n gwarchawd rhag pob gau wyrthiau a phob lledrithiol oleuni newydd. Canys y mae yn ddiammeu na allant ddangos mor ddegfed ran o'r gwyrthiau yn erbyn athrawiaeth yr ysgrythyr ac a ddangosodd *Crist a'i apostolion* i'w sicrhau. Mat. 24. 24. Ecs. 7. 11, 22. Deut. 13. 1, 2.

*Gof.* Chwi a ddywedasoch ddigon am warantu mai'r *ysgrythyr lan* yw'r unig arwydd i ni sefyll wrthi; ac nad yw *crefydd ysprydol* yn goddef son am wrando ar bregethu goleuni ac ysprydoliaeth newydd. Ond er hynny i gyd, ai nid ydyw'r prophwyd *Joel* yn son am ddatguddiadau yn

Joel.2.28, nyddiau'r Criftianogion? *a thywalldaf fy yfpryd ar*
29. *bob cnawd, a'ch meibion a'ch merched a brophwydant, a'ch henuriaid a welant freuddwydion, eich gwyr ieuaingc a welant weledigaethau?*

*At.* Nid dyddiau Criftianogaeth y mae'r prophwyd yn eu fon am danynt yn gyffredinol, ond
Adn. 30, dyddiau'r apoftolion: Canys efe a ddywed
31. drachefn, *yn y dyddiau hynny y gwnaf ryfeddodau yn*
Mat. 24
29. *y nef ac yn y ddaear, gwaed a thân a cholofnau mŵg;*
Joel.2.30. *yr haul a droir yn dywyllwch, a'r lleuad yn waed,*
31. *o flaen dyfod mawr ac ofnadwy ddydd yr Arglwydd.* Hynny yw, o flaen dinyftriad *Caerfalem*: am yr hyn y mae ein Iachawdwr yn y man hwn yn crybwyll: yr hyn a ddigwyddai yn amfer yr *apoftolion*, fef cyn marw *S. Ioan.* A *S. Pedr* a ddywed ddarfod cyflawni'r yfprydoliaeth hon ar
Act. 2. ŵyl y *Pentecoft*, pan ddifgynodd yr *Yfpryd Glan*
10—18. arnynt. *Hyn yw y peth a ddywedpwyd trwy'r prophwyd* Joel. *A bydd yn y dyddiau diweddaf, y tywalldaf o'm Hyfpryd ar bob cnawd: a'ch meibion chwi a'ch merched a brophwydant*, &c. Gan hynny nid yw prophwydoliaeth *Joel* i'w difgwyl yn y dyddiau hyn. Ond yr hyn a ddywedodd *Joel* ac a gyhoeddodd *Pedr*, a gyflawnwyd er yftalm o amfer.

*Gof.* Er i Dduw roddi'r datguddiadau hyn yn nyddiau'r apoftolion, ai nid rhaid i ni feddwl mai yr un Duw yw efe byth?

*At.* Rhaid, yr un Duw yw efe yn waftadol,
Ecs. 19. eithr nid yr un peth y mae efe yn ei wneuthur
16, 18. yn waftad. Efe a ddaeth i lawr ar *fynydd Sinai mewn taranau a thân*, unwaith, o flaenau'r *Iuddewon*, ond ni wnaeth efe mo hynny eilwaith. Efe a dywalldodd ddawn *tafodau* ar led; a *gwyrthiau* ar Griftianogion yn gyffredinol yn nyddiau'r *apoftolion*, ond nid i neb ar ol hynny. Yr un Duw yw efe, a chanddo yr un ofal dros ei *eglwys* bob amfer, eithr nid yr un berffeithrwydd y mae

yn

yn ei weithredu bob amser, ond yn ol ein hachosion a'n hangenrheidiau yn unig. Ac felly, er bod yn rhaid wrth ddatguddiadau yn nyddiau'r *apostolion*, afraid yw'r cyfryw yn ein dyddiau ni.

*Gof.* A oedd yr ysprydol ddatguddiadau hyn yn unig ynghylch athrawiaeth, a mynegi ewyllys Duw, neu ynte yn unig ynghylch egwyddorion a moesau da?

*At.* Yr oeddid ar amserau yn derbyn ysprydoliaeth hefyd mewn defosiynau, megis mewn gweddiau a hymnau, yr hon fendith oedd gynnefin iddynt yn y dyddiau hynny, oblegid nad oedd *gwasanaeth yr eglwys* wedi ei roddi mewn trefn ganddynt. Fel hyn y mae *S. Paul* yn dywedyd wrth y Corinthiaid, *fod gan bawb o honynt salm* 1 Cor 14.
ysprydol *pan ddelent ynghyd*, yn gystal ac athraw- 26.
iaeth ysprydol, gan weddio, addoli, a phregethu trwy ddatguddiad. A phan lafarent drwy ddawn tafodau, hwy a wnaent hynny yn fynych drwy *hymnau ysprydol* a *defosiynau*; canys *yr hwn sydd yn* Ad. 2.
*llafaru â thafodau dieithr*, medd efe, *sydd yn lla-* 14—16.
*faru wrth Dduw*. Y mae ef yn gweddio ar Dduw, neu yn ei foli ef trwy yr un *ysprydoliaeth* ac a ddaeth ar *Gornelius* a'i *gyfeillion* o'r cenhedloedd, Act. 10.
*y rhai a fawrygent* Dduw. 40.

*Gof.* Heblaw datguddiadau mewn perthynas i *grefydd*, a'r ffordd i *ddedwyddwch*, ai nid oeddynt yn meddu prophwydoliaethau yngylch *pethau* eraill hefyd?

*Ac.* Oedd ganddynt ddatguddiadau am bethau i ddyfod o ran yr eglwys: *Agabus* a ragddywed- Pen. 11.
odd ynghylch y *newyn*; *a charchariad S. Paul yng* 28.
*Nghaersalem*. A *Phaul* a ragddywedodd i'w *gym-* Pen. 21.
*deithion yn y llong*, *yr achubid hwy oll* o ran y *llong-* 10, 11.
*dorriad*. A *S. Ioan* yn y *datguddiad*, a ragddy- Pen 27.
wedodd, nid yn unig y pethau a ddigwyddai i 22—24.
ddynion yn neillduol, eithr i'r holl eglwys hefyd.

*Gof.* Yr wyfi yn cofio i chwi ddangos nad

ydym ni i ddisgwyl dim datguddiadau yn rhagor mewn crefydd, i ddangos y ffordd i foddio Duw a myned i'r nef. Eithr a ddichon fod etto rai prophwydi, a chanddynt ddatguddiadau am ryw bethau?

*At.* Fe allai fod, ynghylch rhyw *ddamweiniau neillduol*, i ryw fath ar *bobl* neu *deuluoedd*, neu erbyn rhyw *droad hynod ar fyd*, am *deyrnas* neu *frenhiniaeth*. Ond am y pethau hyn a'r cyffelyb, nis gallwn ni fesur trugaredd Dduw, na dirnad pa gymmwynasgarwch a ddichon efe deilyngu o'r nefoedd. Eithr os digwydd i neb (gan ystyried yn wiliadwrus ac yn sobr) ddwys fyfyrio mewn ffordd o *brophwydoliaeth*, o ran bodlondeb iddo ei hun, neu ddeall helynt y byd a'r oesau, wrth yr hyn y geill roddi bodlondeb i eraill; os bydd, meddaf, i'r cyfryw un dybied fod ganddo *brophwydoliaeth* (trwy na bo iddo wyrdroi'r ysgrythyrau, neu wneuthur cam â chrefydd) nid oes dim i'w ddywedyd yn ei erbyn.

*Gof.* Chwi a roddasoch lawn oleuni am ddoniau a gwyrthiau yr *Yspryd Glan*. A oedd dim doniau rhyfeddol eraill yn perthyn i'r un diben, a fynnych eu hegluro i ni yn y pwngc hwn?

*At.* Yr oedd *dawn* i adnabod dynion neu ysprydion ym mhlith y rhai lledrithiol, er gwybod pwy a lafarai drwy wir ysprydoliaeth, a phwy a ledrithio, neu a hudwyd gan Satan. *Nyni a dderbyniasom Yspryd Duw*, medd S. Paul, *yr hwn sydd yn ysprydol, sydd yn barnu pob peth* a'r a fo yn lledrithiol, *eithr efe nis bernir gan neb:* hynny yw, y neb nad oes ganddo Yspryd Duw, nid all efe adnabod Duw. *Canys pwy* o'r rhai sy'n ol o'r Yspryd hwn *a wybu feddwl yr Arglwydd*, i ddeall pa bryd y bydd arall yn lledrithio? A'r ddawn hon i brofi'r ysprydion oedd angenrhaid iawn yn yr oes honno, er mwyn rhybuddio'r *eglwys* yn erbyn gau *brophwydi*. Canys pan oedd

1 Cor. 2. 12, 15, 16.

y gwir

y gwir ddatguddiad mor aml a chyffredinol, yr oedd mwyaf cysgod i dwyllwyr weithio eu hamcanion hudolaidd i'r eglwys, gan dybio y derbynid yr unrhyw am wirionedd ym mysg y lleill. *Yr awr hon y mae gau brophwydi lawer wedi myned i'r byd*, medd S. *Ioan:* am hynny nyni a ddylem *brofi pob yspryd.* 1 Io. 4. 1.

*Gof.* Y ddawn hon, yn wir, oedd angenrhaid i brofi'r ysprydion, cyn ysgrifennu'r ysgrythyrau: eithr ar ol hynny, y mae'n debygol fod yn hawdd adnabod pob twyllwr heb y cyfryw ddawn?

*At.* Felly y mae; ac felly y rhoddes S. *Ioan* a'r *apostolion* eraill reolau cyffredinol mewn llyfrau i'r pwrpas hwn. Un o'r rheolau, oedd, cyfaddefiad o *Grist* yn y cnawd. *Profwch yr ysprydion*, 1 Io. 4.
medd efe, *ai o Dduw y maent: Wrth hyn adna-* 1—3.
*byddwch Yspryd Duw; Pob yspryd ac sydd yn cyffessu* 2 Io. 7.
*ddyfod Iesu Grist yn y cnawd, o Dduw y mae; a pbob yspryd a'r nad yw yn cyffessu hynny, nid yw o Dduw.* Rheol arall oedd eu hymddarostyngiad i'r *apostolion*; a rheolwyr yr eglwys, megis na roddes Duw mo'i *Yspryd* i dorri undeb, ac i wneuthur gwahaniad di angenrhaid. *Nyni, o* 1 Io. 4. 6.
*Dduw yr ydym; yr hwn sydd yn adnabod Duw sydd yn ein gwrando ni: yr hwn nid yw o Dduw nid yw yn ein gwrando ni: wrth hyn yr adwaenom yspryd y gwirionedd, ac yspryd y cyfeiliorni.* Eithr y rheol bennaf o'r cwbl oedd, eu bod hwy yn cyttuno â'r *ysgrythyrau* (fel y dywedpwyd o'r blaen a datguddiadau'r *apostolion.* *Os ydyw neb yn tybied ei* 1 Cor. 14.
*fod yn brophwyd neu yn ysprydol, cydnabydded y peth-* 37.
*au yr wyf yn eu hysgrifennu attoch, mai gorchymyn yr Arglwydd ydynt. Eithr pe byddai i ni neu Angel* Gal. 1.
*o'r nef, efangylu i chwi amgen nâ'r hyn a efangylasom i chwi, bydded anathema.* 8, 9.

*Gof.* Pa ddoniau eraill, heblaw'r ddawn o *brofi'r ysprydion*, oedd yn deilliaw o'r ysprydoliaeth hon?

*At.* Yn ail, dawn *ymadrodd*, neu fod yn rhugl a hyawdl mewn ymadrodd: yr hyn a wna'r lleferydd yn fwy cymmeradwy gan wrandawyr. *S. Paul* a ddymunai ar y *Colossiaid* ofyn hyn i Dduw
Col. 4. drosto ef: *gan weddio hefyd trosom ninnau ar i*
3, 4. *Dduw agori i ni ddrws ymadrodd, i adrodd dirgelwch Crist, fel yr adroddwyf ef, megis y mae yn rhaid i mi draethu.* Yn hyn yr oedd yr hyfdra rhyfeddol drwy'r hon yr oedd yn llafaru, gan gadarnhau'r pethau oeddynt fwyaf peryglus yn eu herbyn eu
Eph. 6. hunain, o flaen aneirif o'u gwrthwynebwyr gall-
19, 20. upgion. *Fel y rhodder i mi ymadrodd drwy agoryd fy ngenau yn hŷ i yspysu dirgelwch yr Efengyl: fel y traethwyf yn hŷ am dani, fel y perthyn i mi draethu.*

*Gof.* A oedd yr hen brophwydi yn gynnysgaeddol o'r hyfdra yn y ddawn hon?

*At.* Oeddynt. Yr *Iuddewon* a'i cyfrifent yn rhan o *ysprydol wrolder*, a'r hyn y byddai i brophwyd gael ei arfogi gan Dduw cyn yr anfonid ef ar achos peryglus, wrth yr hyn y gallai ragweled faint oedd arswyd ei wrthwynebwyr. Yn y modd hyn y dywedodd Duw wrth *Ezeciel* pan anfonwyd ef at yr *Israeliaid* gwargaledion.
Ezec. 3. *Wele gwnaethum dy wyneb yn gryf yn erbyn eu hwyn-*
8, 9. *ebau hwynt, a'th dâl yn gryf yn erbyn eu talcennau hwynt. Gwnaethum dy dalcen fel adamant, yn galettach nâ'r gallestr; nac ofna hwynt, ac na ddychryna rhag eu hwynebau, er mai tŷ gwrthryfelgar ydynt.* Felly hefyd y parodd efe i *Jeremi, Nac*
Jer. 1. 8, *ofna rhag eu hwynebau hwynt; canys wele heddyw*
17—19. *yr ydwyf yn dy roddi di yn ddinas gaerog, ac yn golofn haiarn, ac yn fur o bres yn erbyn yr holl dir, yn erbyn brenhinoedd Juda, yn erbyn ei thywysogion, yn erbyn ei hoffeiriaid, ac yn erbyn pobl y tir.*

*Gof.* A roddes yr *Yspryd Glan* yr hyfder hwn i'r *apostolion?*

Act. 4. *At.* Do yn wir; yn helaeth iawn hefyd. *A*
31. *hwy a lanwyd o'r Yspryd Glan, a hwy a lafarasant*

*air*

*air Duw yn hyderus. A phan welsant hysder Pedr* Act. 4.
*ac Ioan* yn sicrhau *awdurdod a gallu'r Iesu,* 10—13.
gan roddi ei farwolaeth ef ar lywodraethwyr yr
Iuddewon, *hwy a ryfeddasant.*

*Gof.* A oedd yr hyfder hwn o yspryd arnynt bob amser?

*At.* Nag oedd. Canys fe a ddywaid *S. Paul*
am dano ei hun, ei fod ef *yng Nghorinth mewn* 1 Cor. 2.
*gwendid ac ofn a dychryn mawr:* mewn peryglon 3.
anocheladwy, yr ofnent dros dro. Yn y modd
hyn, yn fynych y byddai i *S. Paul,* pan ddig- Act. 16.
wyddai ryw wrthwyneb enbyd: canys ar ol ei 12, 22,
galedfyd yn *Philippi* ac yn *Thessalonica:* a chan 23, 24.
ddisgwyl yr un peth drachefn *yng Nghorinth, yr* Act. 17.
*oedd efe gyd â hwynt mewn ofn mawr,* ac mor ddi- 5, 6, 10.
galon a bod yn angenrhaid cael *datguddiad i'w* Act. 18.
*nerthu.* Ac yn fwy enwedig pan fyddai efe ei 1, 9, 10.
hun heb ei gyfeillion. *Pan ddaeth efe i Thessa-* 2 Cor. 7.
*lonica,* tra bu ar ei ben ei hun, *ni chafodd ei gnawd* 5. 6.
*ddim llonydd, eithr ym mhob peth yn gystuddiedig: oddiallan yr oedd ymladdau, oddifewn ofnau,* eithr pan ddaeth ei gynnorthwywr *Titus* atto, efe a gymmerth galon, *a Duw, yr hwn sydd yn diddanu y rhai cystuddiedig, a'i diddanodd yntau drwy ddy-*
*fodiad Titus. A phan ddaeth efe i Droas, lle yr* 2 Cor. 2.
*oedd drws wedi ei egoryd, ni chafodd lonydd yn ei* 12, 13.
*yspryd am na chawsai Ditus ei frawd yno* i'w gynnorthwyo, fel yr oedd yn disgwyl. A thra bu efe ei hunan *yng Nghorinth,* yr oedd ef yn fwy
ofnus: *eithr pan ddaeth Silas a Thimotheus, bu* Act. 18.
*gyfyng arno yn yr yspryd,* hynny yw, bywiogodd 5.
yn yr yspryd, gan fyned yn hyfach o'u herwydd.

*Gof.* Yr ydwyfi 'n gweled mai dynion oedd yr *apostolion,* dan wendid dynol ac arswyd weithiau; ac nad oedd yr hyfdra hwn yn bywiogi bob amser?

*At* Gwirionedd yw, eithr yn gyffredinol, hwy a gynnysgaeddwyd â hyfdra, yn enwedig wrth achos;

2Tim. 4. achos: megis y bu i *S. Paul o flaen Nero, lle y*
16, 17. *safodd yr Arglwydd gyd ag ef, ac a'i nerthodd ef.*
Act. 4. A *Phedr* ac *Ioan*, o flaen y *Sanhedrim*, y rhai a ry-
6, 7, 8, feddasant wrth eu *hyfdra* hwynt: megis yr addaw-
10, 13. sai *Grist* iddynt hyfdra pan gyrchid hwynt *o flaen*
Mat. 10. *llywodraethwyr a brenhinoedd o'i achos ef.* Canys
18—20. yna, medd ef, *na ofelwch pa fodd, neu pa beth a*
*lafaroch, canys rhoddir ichwi yn yr awr honno, pa*
*beth bynnag a lafaroch*, sef y sylwedd; a chof,
neu feddwl hyderus i'w lafaru, *canys nid chwy-*
*chwi yw y rhai sy yn llafaru, ond yspryd eich Tad*
*yr hwn sydd yn llafaru ynoch.*

*Gof.* Pa beth yw yr ail o'r *doniau anarferol* a roddes yr *Yspryd Glan* i'r *apostolion* o ran sefydlu eglwys a chrefydd *Crist?*

*At.* Dawn *gwyrthiau*, fel y gallent ddangos i eraill yr hyn a ddangosai Dduw iddynt hwythau.

*Gof.* A ydyw gwneuthur gwyrthiau er mwyn unrhyw athrawiaeth, yn ddigon i brofi mai o Dduw y mae'r cyfryw?

*At.* Ydyw, os bydd tueddiad y cyfryw athraw-
iaeth at sancteiddrwydd, ac yn gymmeradwy gan
Dduw. Canys gwyrthiau sydd o waith Duw, ac
nid o waith dyn; neu'n dangos fod Duw gyd
â'r sawl a'u gwnelo. Yn gymmaint a bod y
gwyrthiau yn dystion o'i weithredoedd ef. *Y*
Io. 10. *gweithredoedd yr ydwyfi yn eu gwneuthur yn enw fy*
24, 25. *Nhad, a dystiolaethant am danaf fi. Onid wyfi yn*
Adn. 37. *gwneuthur gweithredoedd fy Nhad, na chredwch*
38. *i mi, ond os ydwyf yn eu gwneuthur, er nad ydych*
Heb. 2. 4 *yn credu i mi, credwch y gweithredoedd. A Duw yn*
Marc 16. *cyd-dystiolaethu â'r* apostolion, *trwy arwyddion a*
20. *rhyfeddodau, a doniau yr Yspryd Glan. Ac yn ca-*
*darnhau'r gair trwy'r arwyddion oedd yn canlyn.*
1 Cor. 2. *A'm hymadrodd a'm pregeth i oedd o eglurhad yr*
4. *Yspryd a nerth.*

*Gof.* A ddichon *Satan* weithredu gwyrthiau, neu ryfeddodau, ar amserau?

*At.*

*At.* Dichon, trwy'r amcanion a fo at ei ffantais ei hun, eithr nid trwy athrawiaeth Gristianogol. Canys *Satan* wrth hynny *a ymranna yn ei erbyn ei hun, gan hynny, pa fodd y saif ei deyrnas ef?* Pob gwyrthiau a fyddont yn tueddu at sancteiddrwydd a Duwioldeb (fel y dywedpwyd o'r blaen) ydynt ddifai prawf, a mwy nag a eill *Satan* ei wneuthur: ni chrybwyllaf am yr arwyddion hynod a wnaethpwyd er mwyn sefydlu Cristianogaeth, canys hynny a ddangoswyd o'r * blaen. Mat. 12, 25, 26.

*Gof.* Yr wyfi'n gweled fod mor angenrhaid i ni ddal sulw ar amcanion a thueddiad gwyrthiau, ac ar y gwyrthiau eu hunain?

*At.* Felly y mae: canys os o ran pwrpas annuwiol y gwneir hwynt, amlwg yw mai oddi wrth ysbryd aflan y maent: os o ran haeddu parch iddynt eu hunain y maent, hynny sydd oddi wrth wag-ogoniant: os o ran difyrrwch hudolaidd y maent, nid ynt well nâ thwyll teganau. Pob gwyrthiau (fel y maent yn waith gweithredwyr deallus) ydynt yn dangos trwy eu hamcanion, feddwl ac amcan y sawl a'u gweithreda hwynt, a thueddiad y sawl a'i hanfonodd yntau. Gan hynny os cymmer yr un o honynt arno ddyfod oddi wrth Dduw, hynny a ymddengys wrth bwyll a synwyr ei ymadroddion, neu wrth leshaad ei amcanion. Eithr nac arferwn *law* nac *enw* Duw mewn dim a'r a fo yn dueddol at ddiben gwatworus, nac amcanion ofer.

*Gof.* Megis y mae Duw yn gweithredu gwyrthiau o ran dibenion angenrheidiol, ai nid yw efe hefyd yn gweithredu o ran amcanion angenrheidol?

*At.* Ydyw, un ai o ran cefnogi ei weinidogion, neu i beri coelio ei genhadon, yn enwedig pan ddelont gyntaf i gyhoeddi ei gyfraith ef i'r byd:

* Gwel y rhan gyntaf, *Pen.* 3.

byd: neu, weithiau, pan anfonir i'w hail fywiogi hwynt o'u llyfrdra cyffredin. Yr holl wyrthiau yn nyddiau'r *Iuddewon*, a wnaethpwyd, un ai gan *Foses*, yr hwn a gyhoeddodd y gyfraith gyntaf, neu gan *Elias* ac *Eliseus*, i'w hail adferu, ar ol i loi *Jereboam* ac *eilynod Ahab* hudo *deg llwyth* o'r *deuddeg* i droseddu. Gan hynny, nid yw ond ofer i'r rhai sy'n cymmeryd arnynt fyw yn ol yr *ysgrythyrau*, ymorol am wyrthiau newyddion, onid ydynt yn meddwl fod gwyrthiau *Crist* a'i *apostolion* yn ddiffygiol. A gwagedd yn siccr i eglwys *Rhufain* gymmeryd arni wneuthur gwyrthiau, a hithau mor fawr am gredu'r *ysgrytbyrau*, ac am eu deall. Eithr am *Foses*, a *Christ* a'i *apostolion*, hwy a ddangosent eu gwyrthiau i'r rhai na byddent yn credu, er mwyn eu
1 Bren. dwyn i gredu. *Gwr Duw a ddiffrwythodd law*
13.4—6. *Jereboam*, yr hon hefyd a *adferwyd iddo drachefn drwy weddi*, a hynny o flaen yr allor yn *Bethel*, lle yr oedd yr holl ymbleidiau. Ac y mae
1 Cor. 14. *S. Paul* yn dywedyd nad oeddid yn arfer *tafodau*
22. *yn arwydd i'r rhai a oeddynt yn credu, ond i'r rhai digred.* Nid arfer Duw (yr hwn nid yw yn ddiffygiol mewn angenrheidiau, nac yn hael mewn gormodedd) ydyw dangos arwyddion lle nad oes achos.

*Gof.* A roddwyd y gwyrthiau hyn i'r apostolion?

Heb. 2. 4. *At.* Do. *Duw oedd yn cyd-dystiolaethu â*
Marc 16. *hwynt trwy arwyddion a rhyfeddodau: ac yn ca-*
20. *darnhau'r gair trwy arwyddion y rhai oedd yn canlyn.*

*Gof.* Pa ryw arwyddion a roddwyd iddynt?

1 Cor. 12. *At.* Y ddawn i *iachau* heb hyfygwriaeth. *I*
9. *un trwy'r yspryd y rhoddir y ddawn i iachau.* Yn
Act. 3. y modd hyn, trwy'r *Yspryd Glan* yr oedd *S. Pedr*
2, 6. a *S. Ioan* yn iachau'r *gwr cloff*. Pan anfonai ein
Marc 6. Iachawdwr
13.

Iachawdwr hwynt ar y cyntaf i iachau, hwy a arferent * *enneinio ag olew:* yr hyn a fu mewn arfer yn aml wedi. Ac medd *S. Iago, A oes neb* Iag. 5.
*yn eich plith yn glaf, galwed atto Henuriaid yr* 14, 15.
*Eglwys, a gweddiant bwy trosto, gan ei enneinio ag olew yn enw'r Arglwydd:* Canys yn enw *Crist* y gweithredwyd yr holl wyrthiau: A *gweddi'r ffydd a iachai'r claf: A'r Arglwydd a'i cyfyd i fynu: ac os bydd wedi gwneuthur pechodau, bwy a faddeuir iddo* yn yr iachaad hwnnw.

*Gof.* Y mae'n debyg wrth *achub y claf* yn y modd hyn, mai ei achub ef oddi wrth y cyfryw glwyf yw'r meddwl, gan ei fod yn dywedyd *a'r Arglwydd a'i cyfyd ef i fynu:* ac etto y mae *gweddi'r ffydd* a *maddeuant pechodau* yn arwydoccau rhyw beth arall, dybygwn?

*At.* Y mae *gweddi'r ffydd* yn cyttuno â'r meddwl yn ddifai: Canys ffydd yn Nuw am nerthu'r weithred, fydd angenrhaid ym mhob gwneuthurwr gwyrthiau. Ac am *faddeuant pechodau*, gwybyddwn nad marwolaeth dragywyddol, yn unig, yw'r gosp am bechodau, eithr clefydon presennol hefyd: Canys pan ddigwyddo math ar glefyd, neu wendid corphorol, yr un peth gan ein Iachawdwr ddywedyd, *maddeuwyd i ti dy* Mat. 9.
*bechodau*, a dywedyd, *cyfod a rhodia.* Gan hynny, 2, 5.
pan fyddai efe yn iachau, efe a ddywedai, *maddeuwyd i ti dy bechodau.*

*Gof.* Pa ddoniau eraill a gawsant hwy?

*At.* Y ddawn i *fwrw allan gythreuliaid*, megis y gwnai'r *apostolion* yn fynych; a dawn i *gyfodi'r* Act. 5.
*meirw*, 16.

* *Tertulian* a ddywedodd am yr ymerawdr *Severus: Proculum Christianum, qui eum per oleum aliquando curaverat, requisivit, & in Palatio suo babuit usq; ad mortem ejus.*

Hynny yw, (Yr ymerawdr *Severus*) a ymorolodd am *Proculus* y Cristion, yr hwn a'i iachasai ef o'r blaen ag olew, ac a'i cadwodd ef yn ei balâs ei hun, hyd ddydd ei farwolaeth. *Tert. ad Scap. c.* 4.

Act. 9. *meirw*, megis y bu i *Bedr* gyfodi *Dorcas*, a *Phaul*
39, 40. yn cyfodi *Euticus*; a dawn i roddi *clefydon corph-*
Act. 20. *orol* yn gystal a *braw ysprydol ac ing annaturiol ar*
9, 10, 12. *becbaduriaid afrywiog*, megis y rhoddes *Paul* ar
Act. 13. *Elymas*, ac ar y *Corinthiad* godinebus, gan ei
8, 9, 11. gospi er mwyn *dinystrio 'r cnawd*, Ac y mae yn
1 Cor. 5. 5. debygol mai dyma'r gosp gorphorol y mae efe
1 Cor. 4. yn ei fygwth ar y *gwrthgilwyr yng Nghorinth*, pan
21. y mae yn addo *dyfod attynt â gwialen*; A dawn
1 Cor. 10. *i ddial ar bob anufudd-dod*, y cyfryw ac a dynnai i
6. lawr y rhai a fyddent fwyaf yn erbyn awdurdod
yr eglwys, gan wneuthur iddynt ofni cablu,
1 Tim. 1. megis y dywedodd *S. Paul* am *Hymeneus* ac *Alecs-*
19, 20. *ander*, y rhai oeddynt yr *hereticiaid* mwyaf o'r
cwbl oll. A'r ceryddiad hwn a elwir yn *rhoddi drosodd i Satan*.

*Gof*. Pa ham y gelwir y cyfryw yn *rhoddi drosodd i Satan?*

*At*. O herwydd fod y ceryddon hyn i'w gweithredu allan o law, ac mai *Satan* oedd yn ceryddu 'r cyfryw trwy gennad Duw: Pan fai Duw ei hun yn anfon blinderoedd ar ddynion am eu pechodau, dywedir mai *Satan* oedd yn eu
1 Sam. 18. ceryddu. *Syndod Saul* a elwir yn *yspryd drwg*
10. *oddiwrth yr Arglwydd* arno ef. *Plaau Duw ar yr*
Sal. 78. *Aiphtiaid* a elwir yn *anfoniad angylion drwg* yn eu
49. plith. A'r *wraig*, *yr hon a gyd-grymmwyd dros*
Luc 13. *ddeunaw mlynedd*, a elwid yn wraig wedi ei *rhwymo*
11, 16. *gan Satan*. A'r *lloerig* a ddywedid ei fod ag *yspryd*
Mat. 17. 15, 18. *aflan ganddo*. Felly yr oedd yr *apostolion* yn rhoddi
Luc 9. troseddwyr i'w cospi, a hyn a elwid yn *rhoddi*
39, 42. *drosodd i Satan*.

*Gof*. Y rhoddiad hwn drosodd i Satan, ynte, oedd farn oddi wrth Dduw ar droseddwyr: A ydyw Duw drwy 'r *apostolion* yn gorchymyn i *Satan* eu ceryddu hwynt, megis yn amser *Job?*

*At*. Ydyw: canys nis gwneid hyn, y mae'n debygol, heb weddi ar Dduw am ddialedd.

Oblegid

Oblegid y mae'r *apostol* yn dywedyd, *Alecsander y gof copr a wnaeth i mi ddrygau lawer: taled yr Arglwydd iddo yn ol ei weithredoedd.* 2 Tim. 4. 14.

*Gof.* A roddwyd y ddawn hon i'r *apostolion?*

*At.* Do. Canys yr wyfi'n cyfrif eu nerth yn ddawn gwyrthiau, allu o honynt ymlawenhau pan eu *curwyd* o flaen y *cynghor*. *A hwy a aethant allan o olwg y cynghor yn llawen am eu cyfrif hwynt yn deilwng i ddioddef o achos ei enw ef.* Act. 5. 40, 41. *A Phaul* a *Silas oedd yn canu mawl i Dduw, a'u traed mewn cyffion yn y carchar nesaf i mewn*, er eu bod etto yn ddolurus ar ol eu *gwialennodiau.* Act. 16. 23—25. *A'r disgyblion a gyflawnwyd o lawenydd, ac o'r Ysbryd Glan*, pan oeddid yn eu herlid yn *Antiochia.* Act 13. 50, 52. Yn y modd hyn (megis dynion o gadarnach cyrph nag eraill) y gorfoleddent yn eu cywilydd er mwyn *Crist.*

*Gof.* Ai nid rhagorol *ffrwyth yr Ysbryd* ydyw *llawenydd?* a phaham y cyfrifir eu llawenydd hwynt yn *wyrthiau?*

*At.* Dirgel lawenydd yngbariad Duw sydd gyffredin ymhlith dynion daionus, *yngbyd â ffrwyth yr ysbryd.* Gal. 5. 22. Ac ymlawenhau ar ol i'r cystuddiau fyned trosodd, sydd haws nag ymlawenhau pan fyddom tan y wialen: *Canys gwedi hynny y mae yn rhoddi heddychol ffrwyth cyfiawnder i'r rhai sy wedi eu cynnefino.* Heb. 12. 11. Eithr gallu ymlawenhau ynghanol adfyd, megis hwythau, sydd ddawn o wyrthiau rhagorol: canys *ni welir y cerydd tros yr amser presennol yn hyfryd, eithr yn anhyfryd.* Adn. 11.

*Gof.* Ai nid ydyw *Crist* yn dywedyd, *pan y'ch erlidiant, byddwch lawen a hyfryd?* Mat. 5. 11, 12.

*At.* Ydyw: ond y mae'n debyg fod eu gallu hwn i ddioddef, yn fwy o ran y ddawn a roddwyd iddynt (megis y mae efe yn fynych yn rhoddi i'w ferthyron) nag o ran dim arall. A hyn oedd amlwg yn nyddiau yr *apostolion* a'r *merthyron* eraill

eraill gynt. Canys yr oedd eu meddyliau mor gysurus nad oeddynt yn teimlo mo'u ceryddon, oblegid hwy a ddioddefent yn fynych a'u gwên ar eu genau o herwydd diddanwch eu heneidiau. A Duw oedd yn rhoddi 'r cyfryw gynhaliaeth ysprydol i'r *Cristianogion* ym mhob oes, dan eu herlidigaethau.

*Gof.* Myfi a welaf fod yr *Yspryd Glan* yn rhoddi gwyrthiau rhyfeddol i'r *apostolion.* A oeddynt hwy yn gallu gweithredu y rhai hyn pan eu mynnent: neu a oedd rhyw ymbarottoad yn angenrhaid o'r blaen?

*At.* Yr oeddid yn gofyn, yn gyntaf, *ffydd* yn yr hwn a fyddai *yn gwneuthur Gwyrthiau.* Yn ail, *ffydd* yn yr hwn *y gwneid y gwyrthiau arno:* yn enwedig wrth iachau *clefydon.*

*Gof.* Pa beth oedd y *ffydd* angenrhaid yn yr hwn a fyddai yn gweithredu'r gwyrthiau?

*At.* Credu y byddai i Dduw ei gynnorthwyo. A hon yw'r *ffydd* a grybwyllir am dani yn yr
1 Cor. 13. 2. *ysgrythyrau,* ief *a phe bai genyf yr holl ffydd fel y gallwn symmudo mynyddoedd. Pe bai genych ffydd*
Mat. 17. 20. *megis gronyn o had mwstard, chwi a ddywedech wrth y mynydd hwn, symmud oddi yma draw, ac efe a symmudai, ac ni bydd dim yn amhossibl i chwi.* A'r *ffydd* hon a gyfrifir yn un o ddoniau rhagorol
1 Cor. 12. 9. yr Yspryd Glan. *I arall ffydd trwy yr un yspryd.*

*Gof.* Pa beth ydyw'r *ffydd* angenrhaid yn yr hwn y gweithredir y gwyrthiau arno?

*At.* Credu o hono y bydd i Dduw gynnorthwyo yr hwn a anfonir i'w iachau ef, neu'r cyffelyb.
Act. 14. 9, 10. Canys *Paul, gan edrych yn graff ar y gwr diffrwyth ei draed, gan weled fod ganddo ffydd i gael iechyd,*
Mat. 9. 28, 29. *a ddywedodd â llef uchel, saf ar dy draed. A ydych chwi yn credu y gallaf fi wneuthur hyn?* medd Crist wrth y *gwyr deillion. Yn ol eich ffydd bydded i chwi.*
Marc 9. 22, 23. *Os gelli di ddim,* medd tad y dieflig, *cymmorth ni,*

gan

*gan dosturio wrthym. A'r Iesu a ddywedodd wrtho, os gelli di gredu, pob peth a all fod i'r neb a gredo. Ac nid allai yr Iesu wneuthur dim gwyrthiau yn ei* Marc 6.
*wlad ei hun, o herwydd eu hanghreduniaeth hwynt.* 4, 5.
Gellir gweled wrth hyn fod Duw yn attal ei wyrthiau i'r rhai nad ynt yn credu, o herwydd nad ydynt deilwng o honynt.

*Gof.* Pa beth yw'r drydedd a'r ddiweddaf o'r *doniau* rhagorol a roddes yr *Yspryd Glan* i'r *apostolion?*

*At.* Y ddawn i lafaru ag amryw dafodau, drwy'r hyn (a hwy wedi eu meithrin yn iaith yr *Iuddewon* yn unig) yr oeddynt yn gallu cyhoeddi'r grefydd a ddatguddiasai Dduw iddynt, tros yr holl fyd, a gwyr o bob rhyw ieithioedd yn eu deall hwynt.

*Gof.* Pa bryd y rhoddwyd hyn i'r *apostolion?*

*At.* Ar *ddydd y pentecost*, pan ddisgynodd yr Act. 2. 1.
*Yspryd Glan mewn rhith tafodau gwahanedig megis* hyd 12.
*o dân, gan eistedd ar bob un o honynt. A hwy a ddechreuasant lafaru â thafodau eraill, megis y rhoddes yr yspryd iddynt ymadrodd*, gan ymddiddan â *Pharthiaid* a *Rhufeiniaid*, *Cretiaid* ac *Arabiaid*; ac â'r holl *wyr bucheddol o bob cenedl dan y nef*, y rhai oeddynt y dwthwn hwnnw *yng Nghaersalem: a phob un yn eu clywed hwynt yn llafaru yn ei iaith ei hun, yn yr hon ei ganwyd.* A'r ddawn hon hefyd a roddwyd i eraill drwy *arddodiad dwylaw'r apostolion:* megis ar y *disgyblion* yn *Ephesus*, *drwy ar-* Act. 19.
*ddodiad dwylaw S. Paul*; ac ar *Gornelius* a'*i gyfeill-* 2, 6.
*ion*, gan *S. Pedr*. *A Phedr etto yn llafaru y geir-* Act. 10.
*iau hyn, syrthiodd yr Yspryd Glan ar bawb oedd yn* 44—46.
*clywed y gair, a hwy oeddynt yn llafaru â thafodau, ac yn mawrygu Duw.* Ac ar nifer mawr o rai eraill, o fewn *eglwys Corinth* yn enwedig.

*Gof.* I ba bwrpas y rhoddwyd yr ieithiau hyn iddynt?

*At.* I'w gwneuthur yn gymmwys i bregethu
Mat. 28. i bob *cenhedlaeth.* Canys i ba le bynnag yr aent,
19. hwynt a wnaid yn ddiatreg mewn dealltwriaeth o
iaith y wlad.

*Gof.* Yr oedd eraill yn gymmysgaeddol o'r ddawn hon, er nad oeddid yn eu hanfon ar led?

*At.* Oedd, yn enwedig yn eglwys *Corinth:* canys amryw un yno a lafarent yn y gynnulleidfa (lle yr oeddynt yn *Roegiaid* oll o fewn ychydig) mewn *ieithiau dieithr:* Eithr gan nad oedd yr eglwys yn eu deall, y mae *S. Paul* yn erchi iddynt
1 Cor. 14. ynt weddio am ddawn i *gyfieithu*, fel y byddai
2, 5, 13. i'r gwrandawyr ddeall yr hyn a ddywedid. Yr
Adn. 6, oeddynt hwy yn *pregethu* ac yn *gweddio ar Dduw*
14. yn y *tafodau dieithr hyn:* A'r offrymmau hyn
drwy weddiau ysprydol a doniau ysprydol, a
Adn. 14, elwir *yn weddio a chanu drwy, neu gyd â'r yspryd.*
15. *Gof.* Pa ryw les a oedd y tafodau dieithr hyn
yn ei wneuthur yn yr eglwys?

*At.* Nid oeddynt yn hyfforddio crefydd yn wir, o herwydd nad oedd y gwrandawyr yn eu deall. Eithr i ddangos dyfal ymroad yr hwn
1 Cor. 14. oedd yn *llafaru er adeiladaeth iddo ei hun*; ac yn
4. *arwydd* i gadarnhau *crefydd*, gan ddangos y gwir-
Adn. 22 ionedd yn brofedig i'r *digred.* Am hynny,
*tafodau ydynt arwydd nid i'r rhai sy'n credu, ond i'r digred.*

*Gof.* A oedd yr un ddawn arall i wasanaethu tan y ddawn o lafaru â thafodau dieithr?

*At.* Oedd, y ddawn *o gyfieithu'r tafodau hynny*, pan lafarent.

*Gof.* Ai nid oedd y rhai a lafarent yn eu deall eu hunain?

*At.* Oeddynt: *yr hwn oedd yn llafaru â thafod*
1 Cor. 14. *dieithr oedd yn ei adeiladu ei hun*, fel y dywedpwyd:
4. *ac arall oedd yn diolch yn dda*, medd *S. Paul.*
Adn. 17. Eithr yn yr arfer hon o dafodau dieithr, yr oedd
y gwaith

y gwaith mor bwysfawr ar amserau, nad allai 'r neb oedd yn llafaru mor cyfieithu tan un, na chofio 'r cyfryw, air yn air, ar ol ei draethu, fel y gallai ddwyn ar ddeall i 'r rhai oedd yn gwrando. A'r ddawn o gyfieithu oedd yn gwneuthur y diffyg hwn i fynu.

*Gof.* Wrth hynny y mae yn amlwg pa beth yw 'r doniau rhagorol a roddes yr *Yspryd Glan* i 'r *apostolion*, sef *dawn ysprydoliaeth* er mwyn eu dysgu hwynt yn berffaith yn eu crefydd; y *ddawn dafodau* ac *ymadroddion*, fel y byddai iddynt allu i ddatgan ac i fynegi pob peth yn eglur; a *dawn gwyrthiau*, fel y gallent ddangos a phrofi 'r pethau hyn i 'r holl fyd.

*At.* Felly yr oedd.

*Gof.* Ai yn erbyn y *doniau* rhagorol hyn y mae y *pechod yn erbyn yr Yspryd Glan?*

*At.* Ie: gan gymmeryd i fewn, nid y *gwyrthiau* yn unig, eithr *ieithiau* ac *ysprydoliaethau* hefyd. Canys yn erbyn *dawn gwyrthiau* yr oedd y *Phariseaid* yn pechu, pan y mae *Crist* yn dywedyd, *pwy bynnag a ddywedo air yn erbyn yr Yspryd Glan,* Mat. 12. *nis maddeuir iddo.* 24, 32.

*Gof.* Pa beth ydyw 'r pechod anfaddeugar yn erbyn yr *Yspryd Glan?*

*At.* Cablu ac absennu yn erbyn ei *wyrthiau* ef: megis y dywedai 'r *Phariseaid* mai *drwy Beelzebub* Adn. 24. *y bwriai Grist y cythreuliaid allan*, Dywedir yn bendant mai *dywedyd yn erbyn yr Yspryd Glan* oedd Adn. 32, hyn; a *chabledd yn erbyn yr Yspryd Glan*. A hyn, Mat. 12. medd *S. Marc*, a ddywedai 'r *Iesu*, am iddynt 31. ddywedyd, *y mae yspryd aflan ganddo.* Marc 3.

*Gof.* Pa beth yw meddwl y gair hwnnw, sef 30. *ni faddeuir yn y byd hwn, nac yn y byd a ddaw?*

*At.* Nid oes faddeuant am dano gan yr *Iuddewon* na'r *Cristianogion*. Canys yr *Iuddewon* oeddynt yn cyfrif *dyddiau'r Messiah* megis y *byd i ddyfod*, a

chynhaliad yr *eglwys* ar eu hol hwynt: yr hyn
Esa. 2. 2. oedd yr achos i'w galw *y dyddiau diweddaf*, a'r *am-*
Heb. 1. 2 *ser diweddaf*, a'r *byd i ddyfod*. A rhai troseddiadau
1 Io. 2. ym mhlith y *Cristianogion* a oeddynt gymmodol,
18. Heb. 6. am y rhai nid oedd gymmod ym mhlith yr
5. *Iuddewon*. *Canys trwy Grist y cyfiawnheir pob un*
Act. 13. *sydd yn credu, oddi wrth yr hyn bethau, y rhai nid*
39. *allech drwy gyfraith Moses gael eich cyfiawnhau oddi*
*wrthynt*. Gan hynny, meddwl y *byd hwn* oedd
cyflwr yr *Iuddewon* gynt, a'r *byd a ddaw* oedd
gyflwr y *Cristianogion* ar eu hol hwynt.

*Gof*. A ydyw cabledd yn erbyn y *Tad* a'r *Mab*
yn ddifaddeuant?

Mat. 12. *At*. Nag ydyw. *Pwy bynnag a ddywedo air yn*
31, 32. *erbyn Mab y dyn, fe a faddeuir iddo*: ie *pob pechod*
*a chabledd a faddeuir i ddynion*.

*Gof*. Pa ham ynte na faddeuir y cabledd yn
erbyn yr *Yspryd Glan?* ai mwy teilwng ydyw ef
nâ'r *Tad* a'r *Mab?*

*At*. O herwydd mai'r doniau hynny o'i eiddo
ef, sy'n peri *ffydd* mewn dynion; ac heb *ffydd*
*ac edifeirwch drwy ffydd*, nid oes *faddeuant*. Os
ammherchir yr *Yspryd Glan* (yr hwn a anfonwyd
yn lle'r *Mab*) gan alw ei ddoniau ef yn weith-
redoedd *Satan*, fe a fydd i Dduw, yn hyttrach nâ
maddeu iddynt, eu cadw oddi wrth gredu ac
edifarhau, heb yr hyn nid oes faddeuant. Ac
medd *S. Paul* am y rhai a oeddynt euog o'r
Heb. 6. pechod hwn, *y mae yn ambosibl iddynt ymadnew-*
6. *yddu i edifeirwch*.

*Gof*. Ai nid oedd y doniau hyn yn gwneuthur
pawb a'u mwynhaent, mewn ffafr â Duw, ac
mewn *cyflwr o gyfiawnhaad?*

*At*. Nag oeddynt, canys y doniau hynny a
2 Pedr 2. anfonwyd yn gyffredinol ar y da a'r drwg. *Ba-*
15, 16. *laam a garodd wobr anghyfiawnder*, etto yr oedd
Mat. 10. hwn yn brophwyd. *Judas* ydoedd *fab y golled-*
1, 4, 5, 8. *igaeth*, etto, yr oedd hwn yn gwneuthur gwyrth-
iau

iau fel y lleill o'r *apostolion. A llawer a ddywedant wrthyf, Arglwydd, Arglwydd, oni phrophwydasom yn dy enw di? ac oni fwriasom allan gythreuliaid yn dy enw di?* etto efe a ddywed wrthynt, *ewch oddiwrthyf chwi weithredwyr anwiredd.* Ufudd-dod, ac nid gwyrthiau, a achub ein heneidiau; gweithredwyr cyfiawnder, ac nid gwneuthurwyr gwyrthiau, ydynt gymmeradwy gan Dduw. Gan hynny, ein Harglwydd a ddywed wrth ei *ddisgyblion, Na lawenhewch fod yr ysprydion wedi eu darostwng i chwi, ond llawenhewch yn hyttrach am fod eich henwau yn ysgrifenedig yn y nefoedd.* Mat. 7. 22, 23. Luc. 10. 17—20.

*Gof.* Y mae hyn yn llawn ddigon am *ddoniau yr Yspryd Glan.* Eithr, heblaw hyn, chwi a grybwyllasoch am *swyddau gosodedig* er mwyn adeiladu *eglwys Crist a'i grefydd.* Pa rai ydyw'r swyddau hynny?

*At.* Efe a roddes i rai o'r *apostolion* y swyddau pennaf yn yr *eglwys*, a rhai yn *brophwydi* i rag-fynegi pethau i ddyfod, i eglurhau hen bethau, ac i brophwydo pethau newyddion; a rhai yn *efangylwyr* i ysgrifennu'r efengyl, neu i bregethu'r gair mewn llefydd digred, ac eraill yn *fugeiliaid* ac yn *ddysgawdwyr*, megis esgobion a henuriaid i reoli ac i hyfforddio'r *eglwys.* Y rhai hyn oll a roddes efe *i berffeithio y saint i waith y weinidogaeth i adeiladu corph Crist. A rhai yn wir, a osododd Duw yn yr eglwys, yn gyntaf apostolion, yn ail prophwydi, yn drydydd athrawon, yna gwyrthiau, wedi hynny doniau i iachau, cynnorthwyau, llywodraethau, rhywiogaethau tafodau.* Eph. 4. 8, 11, 12. 1 Cor. 12. 28.

*Gof.* I ba beth yr ordeiniwyd y swyddau hyn?

*At.* Er mwyn llywodraethu ac adeiladu yr *eglwys*, a *gwaith y weinidogaeth* yn y *gair* a'r *sacramentau*, a'r *gweddiau.*

*Gof.* A oedd yr holl swyddau hyn i barhau ym mhob oes?

X 3 At.

*At.* Nag oeddynt. Swyddau dros amser oedd gan yr *apostolion*, *efangylwyr*, *a phrophwydi*, y rhai oeddynt cyn yr eglwys, i ddatguddio crefydd drwy ysprydoliaeth *Crist* ei hun. A chan fod yr eglwys hon wedi ei hadeiladu unwaith, nid rhaid wrth barhaad y doniau hynny yn yr oesau ar ol. Ond y *bugeiliaid* a'r *athrawon* i teoli'r eglwys, ac i ordeinio eraill i fod ar eu hol hwynt i finistrio'r gair a'r gweddiau a'r sacramentau, hwy a fyddant yn angenrhaid ym mhob oes. Ac am hynny yr *Yspryd Glan* a orchymynodd iddynt barhau yn wastadol, gan ddywedyd. *Ewch a bedyddiwch yr holl genhedloedd*,
Mat. 28. 19, 20. *gan ddysgu iddynt gadw pob peth a'r a orchymynais i chwi:* a thra byddoch yn bedyddio ac yn dysgu, *yr ydwyf fi gyd â chwi, hyd ddiwedd y byd.* Ac er nad oedd rhai o'r swyddau a grybwyllodd *S. Paul* am danynt, yn angenrhaid, ond yn unig ar y cyntaf, felly y mae rhai swyddau yn angenrhaid
Eph. 4. 12, 13. i *athrawiaethu yr eglwys a gwaith y weinidogaeth* ym mhob oes i barhau (fel y dywed yr *apostol*) hyd oni *ymgyfarfyddo'r Cristianogion* presennol ac i ddyfod, *mewn undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn berffaith at fesur oedran cyflawnder Crist.* Felly y mae yr eglwys i fwynhau llesiaad y swyddau hyn, sef *bugeiliaid* ac *athrawon*, hyd ddiwedd y byd.

*Gof.* Gan fod pob un ac sydd yn perthyn i'r swyddau hyn yn marw ym mhen oes, pa fodd y parhant hwy yn yr oes nesaf?

*At.* Y mae'r *esgobion* a'r *llywiawdwyr* bob amser yn graddu eraill i fod ar eu hol hwynt, ac i gyflawni angenrheidiau'r eglwys o hyd. O herwydd hyn y dywedai *Crist* wrth ei *apostolion*,
Io. 20. 21. *megis y danfonodd y Tad fi* a gallu i roddi awdurdod i chwi i finistrio ar ol fy ymadawiad i, felly yr *wyf finnau yn eich danfon chwi* ag awdurdod i ordeinio eraill yn yr un modd. Ac yn ol yr achlysur

achlysur hwn, hwy a wnaethant *esgobion* yn yr holl eglwysi: *S. Paul* a wnaeth *Ditus yng Ngbreta* a *Thimotheus yn Ephesus*, y rhai olynol, oeddynt yn ordeinio eraill, fel y mae *S. Paul* yn erchi i *Dimotheus wneuthur megis y gwnaethpwyd iddo ef*, sef *traddodi y peth a glywsai efe ganddo ef i ddynion ffyddlon, y rhai a fyddent gymmwys i ddysgu eraill hefyd*. A Duw oedd i fod bob amser yn bresennol gyd â hwynt yngwaith y weinidogaeth yn gynnorthwy, megis yn oedd efe â'r *apostolion* ar y cyntaf. *Yn y geiriau hyn*, sef pregethu a bedyddio, *wele yr ydwyf fi gyd â chwi bob amser, hyd ddiwedd y byd. Gyd â chwi*, hynny yw, gyd â chwi eich hunain tra byddoch byw, a chyd â'r lleill ymhob oes ar eich ol: canys nid allai'r peth barhau hyd ddiwedd y byd ond yn y modd hynny, oblegyd eu bod hwy oll i farw wrth naturiaeth. 2 Tim. 1. 14. Pen. 2. 2. Mat. 28. 20.

*Gof.* Ai'r *Yspryd Glan* sydd yn rhoddi yr holl swyddau hyn?

*At.* Ie. *Duw a osododd swyddogion yn yr eglwys*; a *Christ a roddes roddion i ddynion, pan ddyrchafodd*, hynny yw, *Duw* a roddes, a *Christ* a roddes, drwy'r *Yspryd Glan*, yr hwn (er pan aeth *Crist ar ddeheulaw Dduw*) a ddaeth at ei eglwys *yn ei le ef*, drwy ba un y mae pob awdurdod a gallu yn dyfod i'r swyddogion hyn. Ac medd yr *apostol*, *edrychwch gan hynny at eich holl braidd, ar yr hwn y gosododd yr Yspryd Glan chwi yn olygwyr*. A phan ordeiniodd *Crist* ei *apostolion*, efe a roddes iddynt awdurdod i anfon eraill, megis y danfonasai y *Tad* ef; ac i ryddhau ac i attal *pechodau*; efe hefyd *a anadlodd arnynt*, *gan ddywedyd*, *derbyniwch yr Yspryd Glan*. Ac er mwyn dangos o ba le y mae'r awdurdod hon yn dyfod, pan ordeinir y swyddogion hyn (pa un bynnag ai *esgobion* ai *offeiriaid*) yr awdurdod a roddir iddynt bob 1 Cor. 12. 28. Eph. 4. 8, 11. Io. 16. 7. Io. 14. 16. 18. Act. 20. 28. Io. 20. 21—23.

 amser

amser; gan ddywedyd, *derbyniwch yr Ysbryd Glan.*

*Gof.* Pa beth a feddylir wrth y rhai sy'n diystyru 'r *weinidogaeth*, ac yn dirmygu gweinidogion eglwysig a'u hordeiniadau, ac er hynny a daerant eu bod yn cael eu harwain gan yr *yspryd?*

*At.* Chwi a ellwch wybod nad gan yspryd *Crist*, yr hwn a anfonodd ef ar ei *ddisgyblion*, a'r hwn a ysgrifennodd yr *ysgrythyr lan.* Dyna'r yspryd a roddes y swyddau hyn yn fendithion i'r eglwys: Eithr eu hyspryd hwy sydd yn amcanu dadwreiddio yr hyn a blannwyd gan yspryd Duw.

*Gof.* Wrth hynny mysi a welaf mai llwyr y dylem fod yn ddiolchgar i'r *Yspryd Glan*, am iddo fod mor ofalus i sefydlu a helaethu eglwys *Grist* a'i grefydd, yn gystal a'i wyrthiau rhyfeddol ar ddechreuad *Cristianogrwydd*, ac am y swyddogaethau a'r rheolau a ordeiniodd efe i'w chynnal ac i'w llywodraethu ym mhob oes rhagllaw.

Eithr heblaw'r doniau anarferol a roddwyd i rai er helaethu a sefydlu eglwys Dduw a'i grefydd, chwi a grybwyllasoch am fath arall ar ddoniau i berffeithio gwaith ein iachawdwriaeth, yr hyn y mae'r *Yspryd Glan* yn ei roddi yn gyffredinol i ddynion ym *mhob oes ac ym mhob lle.* Pa bethau yw y rhai hynny?

*At.* Pob *gras oddi fewn*, a *chynnysgaeddiad rhinwedd*, angenrhaid at iachawdwriaeth pawb oll, megis y cyfrifai yr *apostol* hwynt. *Ffrwyth yr* (Gal. 5. 22, 23.)
*yspryd yw cariad, llawenydd, tangnefedd, hir ymaros, cymmwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, dirwest*, a'r cyfryw, a *chyffroad i dduwiol swyddau* yn enwedig: Y mae efe hefyd yn gynnorthwy pob dymuniad sanctaidd, ac yn bywiogi pob gweddiau: Dyna lle mae'r *apostol* yn dywedyd

fod

fod *ffrwyth yr yspryd yn cynnorthwyo ein gwendid, gan erfyn tros y saint, yn ol ewyllys Duw,* gan eu hyspryd oli hwynt â dymuniadau ac *ocheneidiau annhraethadwy.* Rhuf. 8, 26, 27.

*Gof.* Ai'r *Yspryd Glan* yw rhoddwr yr holl rasau hyn? Ai ni roddir hwynt i ni, onid trwy ei ddawn ef yn unig?

*At.* Na roddir. *Canys adnewyddiad ein nattur sydd oddiwrth yr Yspryd Glan.* Tit. 3. 5. A S. *Paul* a eilw'r holl rinweddau crybwylledig yn *ffrwythau yr yspryd.* Gal. 5. 22. Ac medd Crist, *ni ddichon neb ddyfod attaf fi,* sef credu ac ufuddhau i mi, *oddieithr i'r Tad yr hwn a'm hanfonodd, ei dynnu ef.* Io. 6. 44. Oddi wrth Dduw y mae i ni ddisgwyl a gofyn pob gras. Ac o herwydd ein hanghenion beunyddiol ni am dano, ein Iachawdwr ei hun sydd yn dysgu i ni ddywedyd *Sancteiddier dy Enw, Deued dy Deyrnas, Bydded dy ewyllys di, Gwared ni rhag Drwg, &c.* cyn fynyched ac y dywedom. *Dyro i ni heddyw ein Bara beunyddiol.*

*Gof.* Gan fod yr *Yspryd Glan* yn rhoddi y rhai hyn, pwy bynnag a'u derbynio a eill gredu gael o hono ras Duw, a bod ei *Lan Yspryd* yn cyfanneddu ac yn gweithredu ynddo ef?

*At.* Geill, ac yn siccr os bydd iddo gael ei gyffroi a'i reoli gan y grasau hyn oll: canys gwyrthiau yr yspryd ydynt. Ac lle y gwelom y gwir ffrwythau, gellir bod yn ddiogel o'r gwreiddyn: fel y dywed ein Iachawdwr, *y pren a adwaenir wrth ei ffrwyth.* Luc 6. 43, 44. O herwydd paham, y ffrwythau hyn, yn yr *ysgrythyrau* a gymmerir yn arwydd gras, ac yn siccrwydd fod y cyfryw rai ac a'u meddiannont yn ddeiliaid i Dduw. Mat. 7. 16, 20. *Wrth hyn y gwyddom yr adwaenom ef, ac y gwyddom ein bod ynddo ef, os cadwn ei orchymynion ef.* 1 Io 2. 3, 5. *Nyni a wyddom ddarfod ein symmud ni o farwolaeth i fywyd, oblegyd ein bod yn caru y brodyr.* 1 Io. 3. 14. *Yr hwn sydd yn gwneuthur* 1 Io. 3. 7, 10.

*gwneuthur cyfiawnder, sydd gyfiawn; yn yr hyn y mae yn amlwg plant Duw.*

*Gof.* Ai nid eill dyn drwg wneuthur rhyw dro da ar amseroedd? Yr oedd rhyw faint o rinwedd gan amryw rai er nas meddynt nac *yspryd daigueddiad* na *gras achubol*?

Marc 6. 20. *At.* Gwir yw ddarfod i *Herod* wrando ar *Ioan fedyddiwr yn ewyllysgar, a gwneuthur llawer o bethau.* A darfod i'r *morwynion ffolion* gynt,
Mat. 25. 1, 2. fyned beth o'r ffordd gyd â'r *rhai call.* Felly y dichon, un ai gras cyffredin, ai tueddiad meddwl, ai mantais ddaearol, neu gydwybod naturiol, arwain dynion (er, ysgatfydd, eu bod o'r blaen yn ddiystyr am Dduwioldeb) i gyflawni rhyw ddyledswydd neu ei gilydd. A chan hynny, y rhinweddau hyn ydynt arwyddion o'r yspryd a'r gras achubol; ond nid pan fo i ryw ychydig o honynt ar ddamwain daro mewn dyn drwg ei arferion, ond pan ddigwyddo i ddyn gofalus am roddi parch gydwybodol i bob rhinwedd dda, eu derbyn.

*Gof.* Chwi a ddangosasoch mai ffrwythau yr yspryd a dawn Duw ydyw'r grasau hynny. Eithr gan fod yspryd Duw i weithredu y rhai hyn ynom, ai nid allwn ni gan hynny, ein tybio ein hunain yn ddiofal, ac yn ddi-drafferth oddi wrthynt?

*At.* Na allwn er dim: canys nid yw ddyledus ar yr hwn a'n gwnaeth yn ddynion, mo'n gwneuthur yn faint hefyd, heb ein cyd ymroad ein hunain. Efe, yn wir, a'n gwnaeth o'i waith ei hun, eithr nid echyb efe neb ond wrth ei gyd ymdrech ei hunan.

*Gof.* Pa beth sydd raid i ni wneuthur tuag at ddwyn ymlaen y gwaith ysprydol hwn?

*At.* Mae'n rhaid i'r galon a'r ewyllys gydweithio yn ofalus.

*Gof.*

*Gof*. Pan ddechreuo'r yspryd blannu gras rhinweddol ynom, a raid i'r galon gyd-weithio ag ef: neu a raid i ni fod yn barod i'w ddewis ef a'i dderbyn?

*At*. Rhaid, canys ni wiw cymmell yr anewyllysgar i ddaioni. Gan hynny, ein gwir ewyllys a grybwyllir pan dueddir ni at ddaioni: *rhoddes o'th flaen einioes a daioni, ac angau a drygioni, dewis dithau yr einioes*. Gan hynny, mae'n rhaid i ryw wreichionen o'r ewyllys ennynu ufudd-dod i'r galwad. Y *gair* ynghyd a'r *gras*, a ddygodd ffrwyth o'i *dderbyn mewn calonnau hawddgar a da*. Ac os gwrthodwn y gwahoddiad, gan barhau yn anufudd, yr ewyllys a gondemnir gyntaf. *Ni fynnwch chwi ddyfod attaf fi fel y caffoch fywyd. A phaham y byddwch feirw, o dy Israel?* — Deut. 30. 15, 19. — Luc 8. 15. — Io. 5. 40. — Ezec. 18. 31, 32.

*Gof*. Eithr pan fo i'n calonnau dueddu at ras a daioni, a raid i'n gofalon a'n hymdrech gyd weithio a hwynt?

*At*. Rhaid, canys Duw sydd yn rhoddi'r grasau hynny yn fendith ar ein gofalon a'n llafur; ac i gyd-weithio a hwynt ynom, fel y byddont o'n llafur ni yn gystal ag o'i haelioni yntau. Mae Duw yn dywedyd wrthym, *ymlawenhewch*, medd Esay, *dychwelwch*, medd Ezeciel, yn gystal ac yr ydym ninnau yn gweddio *Dychwel di ni: A chrea galonnau glan ynom.* — Esa. 1. 16. — Ezec. 18. 30. — Jer. 31. 18. — Sal. 51. 10.

*Gof*. Ai nid ydyw Duw yn rhoddi i ni beth gras ym mlaenllaw, cyn y dechreuom ar ddim? megis *cafwyd fi gan y rhai ni'm ceisiasant*, medd y *prophwyd?* — Esay 65. 1.

*At*. Ydyw: megis gras *datguddiad oddi allan*, a chyfleusdra cyfaddas. Y rhai hyn ydynt yn rhag-barattoi ein calonnau a'n gofalon, neu a roddir cyn eu gofynom. Megis y mae i ni o fewn y *frenhiniaeth hon*, oleuni yr *ysgrythyrau sanctaidd*, cyfarwyddyd a gofalon *bugeiliaid*, y

cyfleusdra

cyfleusdra o ymgynnull i weddio, nawdd y cyfreithiau i'r grefydd Gristianogol, yr hyn nid oes mewn gwledydd *digred:* A chenym yr ysgrythyrau yn ein tafodiaith ein hunain; a'r arthrawiaeth yn bur, a'r addoliad hynaf a chywiraf, yr hyn nid oes gan lawer o'r gwledydd Cristianogol. A hyn oll (ynghyd ag amryw fanteision eraill) a gafwyd heb eu gofyn. Ni cheisiasom ni mo honynt, ond fel y bu i ni gael ein geni yn eu mysg. Y rhai hyn medd *Esay* oeddynt i'w cyflawni gan Dduw i'r *cenhedloedd*, y rhai *nid ymofynent am danynt.* Felly'r *cenhedloedd* ni cheisiasant yr *apostolion*, ond yr *apostolion* a'u ceisiasant hwy.

*Gof.* A ydyw yr *Yspryd Glan* yn ein cynnysgaeddu ni hefyd ym mlaenllaw â *deisyfiadau da a chyffroad o'n mewn?*

*At.* Ydyw, gyd â'r cynhyrfiad gras: ond am gynhyrfiad mewn grym i drechu anwydau, a dyfod i gyflwr cadwedig, y mae hynny yn sefyll ar ein gofalon a'n hymroad ein hunain. A'r *gras blaenllaw* hwnnw sydd i ddeffro ein tueddiadau eraill oddi fewn. Ac os bydd i ni wneuthur ein goreu wrth hynny, nyni a gawn ychwaneg o ras, a thrwy ei nerth efe a berffeithia y rhinweddau a chwennychom ganddo. Ond os segur a fyddwn, ac heb wneuthur ein goreu o honynt, efe a gymmer oddi wrthym yr hyn a roddes i ni o'r blaen. Eithr am chwanegiad y gras hwn drwy ein llafur a'n gofalon ein hunain,
Mat. 25. 29. fe ddywed ein Iachawdwr, *I bob un y mae ganddo, y rhoddir, ac efe a gaiff helaethrwydd; ac oddiar yr hwn nid oes ganddo,* neu na wnelo'r goreu o'r hyn a roddir iddo gan Dduw, *y dygir oddi arno, ie yr hyn sydd ganddo.*

*Gof.* Mae Duw ynte yn rhoddi i ni, er mwyn ein hannog i ofyn drachefn: oblegid fe a ddyry'r

gras

gras i ni fel ein lluniaeth beunyddiol, os nyni a gymmerwn ofal rhag ei gam arferyd?

*At.* Gwir ydyw. Gan hynny yr ydym ni yn rhwymedig i lafurio ein hunain wrth y gair, *gweithiwch allan eich iachawdwriaeth eich hunain, canys Duw sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu.* Philip. 2. 12, 13.

*Gof.* Pa fodd y mae i ni ymofyn am y grasau hyn gan yr *Ysbryd Glan*, fel trwy Dduw a'i fendith y mwynhaom hwynt?

*At.* Yn gyntaf, *gweddiwch* am danynt, canys *o bydd ar neb o honoch eisiau doethineb, gofyned gan Dduw, yr hwn sydd yn rhoi yn haelionus i bawb, ac heb ddannod: a hi a roddir iddo ef. Duw a rydd yr Ysbryd Glan i'r rhai a ofyno ganddo.* Iago 1. 5. Luc 11. 13.

*Gof.* A raid i ni ofyn drwy ffydd: neu ofyn gan ddisgwyl derbyn?

*At.* Rhaid, canys digio Duw a fyddai ammeu ei diriondeb ef, neu anghoelio ei addewidion. Ein gwan hyder ni a bair iddo ef attal ein gofyniad: Ond yr ydym siccr o'i ras ef os diysgog y fydd ein hyder. *Pa beth bynnag a ofynoch mewn gweddi, gan gredu, chwi a'i derbyniwch. O bydd ar neb o honoch eisiau doethineb, gofyned gan Dduw, eithr gofyned mewn ffydd heb ammeu dim.* Mat. 21. 22. Iago 1. 5, 6.

*Gof.* Mewn pa ryw ffordd arall y mae i ni ofyn y grasau hyn?

*At.* Yn ail, drwy fynych a difrifol arferu'r *sacrament sanctaidd:* yr hon ordinhaad sydd mor *effeithiol* a'i bod yn arwain nerth ysprydol i'r eneidiau, megis y mae *bara* yn diwallu'r cyrph. Mae'r ysgrythyr yn cydnabod hyn pan y mae *sanctaidd gorph Crist* yn cael ei alw yn *fara*, lle hefyd y gelwir *bwytta bara* ac *yfed gwin* yn *gymmundeb o'i gorph a'i waed ef*, neu gymmundeb o bob grasau a bendithion ac a brynwyd erddynt. Io. 6. 51, 55. 1 Cor. 10. 16.

*Gof.* A oes ychwaneg o reolau yn yr achos hwn?

*At.* Oes. Yn drydydd (ynghyd â gweddiau a sacramentau) mae'n rhaid arferu *moddion synhwyrol*, a fo'n debyg i ynnill y grasau dymunol hyn. Pan ofynom i Dduw ein *bara beunyddiol* i'n diwallu, mae'n rhaid i ni wneuthur arfer o hono gyd â *gofal a diwydrwydd*. Yr un fath yw pan ofynom un rhyw *rinwedd*, mae'n rhaid i ni ymofyn am dani yn y cyfryw fodd synhwyrol a thebygol i ni gael ein dymuniad.

*Gof.* A oes ychwaneg i'w ddywedyd ynghylch arferiad y pethau hyn?

*At.* Oes. Yn bedwerydd, ar fod ein gofyniad drwy *ffydd yngallu ac Yspryd Duw*; a hyder am lesshaad trwy ei gymmorth ef. Mae Duw wedi rhoddi i ni addewid o'i ras a'i yspryd ein gwellhau, yn gystal a'i drugaredd pan wellhaom. Gan hynny rhaid i ni ddal sulw ar yr addewid hon, a'i gynnorthwy galluog ef, pan dueddom at rinwedd neu ddaioni. Mae ffydd yn ei allu ef mor angenrhaid i'n gwneuthur ni yn ddaionus, ac ydyw ffydd yn ei drugaredd ef i ddyn am fod yn ddaionus, tuag at beri i ni ewyllysio bod yn ddaionus ein hunain. Ac at y ffydd hon, y mae'r ysgrythyr yn ein cyfarwyddo trwy weithio allan

Philip. 2. 12, 13. ein hufudd-dod. *Gweithiwch allan eich iachawdwriaeth, canys Duw sydd yn gweithio ynoch chwi,* gan nerthu eich disgwyliad.

1 Pedr 1. 5. *Ac yr ydym yn gadwedig drwy allu Duw, a thrwy ffydd* yn y gallu hwnnw *i iachawdwriaeth.*

*Gof.* A oes un rheol arall i ddal sulw arni wrth ofyn y grasau hyn gan *y sanctaidd Yspryd?*

*At.* Oes. Yn bummed, na bo i ni (yn yr holl ennyd y byddom yn llafurio am danynt) weithredu dim i'w *gythruddo*, neu i'w *flino* ef. Efe sydd debyg i wr galluog yn barod ei gymmwynas, ond

ond yn fim ganddo aros mewn un rhyw le na bo
iddo groesaw, yn enwedig lle y gwnelir achos
i'w gythruddo. Gan hynny, pan rybuddir ni
oddiwrth ein pechodau, fe erchir i ni, *na thristaom* Ephes. 4.
*lan Yspryd Duw.* 30.

*Gof.* Pa bethau a'i tristâant ef?

*At.* Mae'r *apostol* yn crybwyll yn bendant mai
*ymadrodd llygredig*, a *geiriau bryntion*. Ond efe a Adn. 29.
dristeir yn ddirfawr o waith ein hymroddiad i
un rhyw fath ar bechod, yr hyn y mae efe yn
ei gasau yn gyhoeddus. Eithr yn enwedig os
troseddir yn erbyn ei annogaeth ef yn ceryddu
cydwybod. Megis *Dafydd* wedi lladd *Urias*,
oedd mewn dirfawr ofn rhag i Dduw *gymmeryd ei* Sal. 51.
*Yspryd sanctaidd oddi wrtho.* Neu fod i ni, o hir 11.
arfer, ymhyfrydu mewn pechod.

*Gof.* A ydyw *esgeuluso a dibrisio* ei annogaethau
ef, drwy wybod, yn ei dristau?

*At.* Ydyw. Canys ei amcan ef, ydyw cael o
honom lesshad oddi wrthynt; a chan nad yw efe
yn ein hannog i ddim ond sydd yn fwyaf cyttunol
â'i dueddiad sanctaidd ei hun, ac anrhydedd i
Dduw, a'n tragywyddol ddedwyddwch ein hun-
ain, *bydded genym*, hynny yw, arferwn *ras*, *drwy'r* Heb. 12.
*hwn y gwasanaethom Dduw wrth ei fodd*, Gan 28.
hynny, bydded i hyn fod yn chweched reol i
ofyn ei ras achubol ef, hynny yw, i groesawu
yr annogaethau daionus y mae efe yn eu hanadlu
ynom, ac i helaethu'r gras a roddes efe i ni ym-
laenllaw, er dwyn ychwaneg atto. *Canys i'r hwn* Mat. 25.
*y mae ganddo y rhoddir, ac efe a gaiff helaethrwydd.* 29.
Dyma fford pob dyn synhwyrol mewn pethau
pwysfawr i roddi ymddiried arnynt, yr hyn hefyd
yw ffordd yr *Yspryd Glan.*

*Gof.* Os byddwn ni yn segur gan esgeuluso
llafurio'r gras presennol, mae lle i ofni y bydd
iddo attal y mesur hwnnw o ras yr oedd efe yn
ei amcanu ei roddi i ni yn ychwaneg?

*At.*

*At.* Efe a wna hynny; ac ar ol hir amynedd, efe a gymmer ymaith y *gras cyntaf* hefyd. *Canys oddi wrth yr hwn nid oes ganddo y dygir oddi arno, ïe, yr hyn sydd ganddo.* Felly y dychrynodd *Felics*, wrth wrando pregeth *S. Paul*, gan eistedd i lawr yn arswydus, ond nid gan amcanu gwellhau, mae'n debygol, ond gan na wrandawai ar ddim ychwaneg o'r bregeth, ni fynnai wellhau na gwneuthur iawn ddefnydd o honi.

Mat. 25. 29.

Act. 24. 25.

*Gof.* Chwi a ddangosasoch pa fodd y mae i ni gyrrhaeddyd *gras yr Yspryd.* Ond os rhaid i ni gyrraedd yr un rhyw o'n llafur ein hunain, pa fodd y mae'r cyfryw ras yn rhodd Duw? ac os efe sydd yn ei roddi, pa ham y rhaid i ni gymmeryd yr holl ofalon hyn i'w ynnill?

*At.* Ped faent yn rhoddion cyflawn i ni, ni byddai raid. Canys nid oes ammodau am rodd gyflawn. Gan hynny nid ein diffygiadau ni a'u rhwystra, na'n hymddygiadau chwaith a'u hynnill. Nid ydyw y rhoddion hyn yn sefyll ar ddim a'r sydd ynom ni, eithr gweithredoedd Duw ydynt: yn gymmaint ac na ddisgwylir i ni wneuthur dim tuag at y cyfryw roddion a'r rhai hyn. Eithr y grasau hyn nid ydynt berffaith gyflawn, ond rhoddion dan ammodau: canys cyn rhoddi o'r yspryd hwynt, y mae efe yn gofyn rhyw gydnabod tuag attynt; ac nid ymhob dyn y gweithredir hwynt, eithr yn y rhai a ddarparwyd iddynt. Mae rhyw bethau yn rhwystr iddynt, y rhai a ddyleid eu gochelyd: pethau eraill a'u hynnillant, y rhai a ddylent gael eu croesawu genym: oblegid nad ydynt i'w disgwyl oddi wrth Yspryd Duw, heb i ninnau gyd ymdrech am danynt.

*Gof.* Mor fawr yw gofal yr *Yspryd Glan* am lenwi ein heneidiau â thueddiadau daionus! Ai nid yw efe hefyd yn adnewyddu hynny â'r

cyfryw lawenydd ysprydol a chysurus ac sydd yn dueddol i ddylifo oddi wrthynt?

*At.* Ydyw. Canys y mae *S. Paul* yn cyfrif *llawenydd*, a *thangnefedd*, yn *ffrwythau yr Yspryd*, yn gystal ac *addfwynder* a *dirwest*: gan *weddio ar i Dduw'r gobaith gyflawni* y Rhufeiniaid *o bob llawenydd a thangnefedd, gan gredu, fel y cynnyddent mewn gobaith trwy nerth yr Yspryd Glan.* Ac fe ddywaid *S. Luc* i'r eglwysi *rodio yn niddanwch yr Yspryd Glan*; a *S. Pedr* a ddywaid am y *dieithriaid ar wasgar*, iddynt *lawenhau â llawenydd annhraethadwy.* Gan hynny nid rhaid i Gristianogion daionus betruso, neu ofni mai'r ffordd unig i fod yn grefyddol ydyw bod yn synn ac yn brudd: oblegyd mai llawenydd a thangnefedd a gobaith hoenus ydyw 'r ffrwythau y mae Duw yn eu hoffi oddiwrth ei ddoniau grasusol. Gal. 5. 22, 23. Rhuf. 15. 13. Act. 9. 31. 1 Pedr 1. 8.

*Gof.* A ydyw yr *Yspryd Glan* yn rhoddi'r diddanwch hwn ym mhob meddyliau lle y mae efe yn anfon ei ras achubol?

*At.* Ei ewyllys ef yw gweithredu hynny ym mhob dyn, mewn rhyw ran neu ei gilydd, nid gan roddi gormodedd, neu grychneidiadau o lawenydd: eithr drwy lawenydd, rhadlonrwydd, a chysurus obaith oddi fewn. Ond mae rhai mor ddwysion a bod yn hawdd ganddynt gynnwys amheuaeth, yn enwedig o honynt eu hunain; a hynny sydd, y rhan amlaf, o waith camsyniad daioni Duw, gan dybied ei fod ef yn greulon, hawdd i'w ddigio, ac anhawdd i'w gymmodi: neu wrth gam ddirnad yr *efengyl*, gan ei thybio yn rhy gaeth, a'i bod yn gofyn mwy nag sydd bosibl i'w gyflawni. A mynych y bydd meddyliau eraill tan ryw gystudd neu flinder rhwystrus, yr hyn sydd yn gwrthsefyll bod crefydd ddiddanol a Duwioldeb heddychlon, yn peri llawenydd a chysur ynddynt.

*Gof*. Ond heblaw rhwystrau, ai nid ydyw'r Goruchaf o hono ei hun, weithiau, yn cuddio ei wyneb oddi wrthym, megis un a fai yn ddig wrthym: yr hyn a wna dristwch a phrudd-der i amryw Gristion bucheddol? A phan fo dynion yn y cyflwr hwn, dywedir eu bod yn lloerig neu mewn anhwyliad?

*Att*. Pe d fai gysur ysprydol mor anwadal, a myned oddiwrthym heb i ni wneuthur achosion, ni byddai'r cyfryw gysur yn werth hyderu arno. Eithr nid yw hyn amgen na dychymmygion dynion. Mae'r *ysgrythyr lan* yn dangos i ni well pethau, sef, *Nesewch at Dduw, ac efe a nesaa attoch chwi; glanhewch eich dwylaw, chwi bechaduriaid, a phurwch eich calonnau, chwi y'r meddwl dau-ddyblyg*. Yr yspryd daionus hwn sydd bob amser yn hoffi daioni, a'r sawl bynnag a'i gwnelo, gan ymlawenhau ynddo. Canys ei wasanaeth a'i swydd ef yw chwanegu tangnefedd a diddanwch, gyd a phob math ar ddaioni arall, ynghalonnau Cristianogion. A chan mai dyna ei swydd, efe a fydd yn ddiball o'i gwneuthur; ac ni chymmer mo'i ddiddanwch na'i ras oddi wrthynt, oni bydd iddynt ei gythruddo ef a'u gwaith eu hunain. Ie yn hyttrach pan fo eu synn feddyliau a'u hanynadrwydd hwynt yn dal ei bresennoldeb ef oddi wrthynt, y mae efe yn barod i oleuo eu tywyllwch hwynt gan adferu'r diddanwch hwnnw i'w meddyliau a yrrwyd ymaith o waith eu beiau llygredig eu hunain. Gan hynny y mae genym ddangosiad yn yr *ysgrythyrau* nad yw'r *Yspryd Glan* yn ymwrthod a ni heb achos, ac o'n gwaith ein hunain, a'i fod ef yn hoffi gwneuthur daioni i'r rhai daionus, ac y bydd efe yn ddiddanwch i bob dyn, oddieithr i'r rhai a'i tristant ac a'i cythruddant ef.

Iago 4. 8.

PENNOD

# PENNOD VI.

## Yr Eglwys Lan Gatholig, a Chymmun y Saint.

### Y CYNHWYSIAD.

*Dim sicrwydd am iachawdwriaeth trwy Grist ond yn ei eglwys. Yr eglwys yn sanctaidd. Ac yn gatholig *. Derbyniad iddi drwy fedydd; cyflawniad yr hyn trwy iawn drefn mewn un eglwys fydd safadwy mewn eglwysydd eraill. Ac felly y mae ysgymmundod. Yr eglwys yn un corph drwy undeb gweledig oddi allan. Am gymmundeb y saint yn yr eglwys hon. Eu hundeb gweledig mewn ffydd ac athrawiaeth. Mewn gweddiau a defodau. Eu cyd-undeb mewn gweddi gyhoedd. Mai pechod ymneillduo heb achos. Y mae cymmell pechodau neu amryfuseddau, megis ammodau o gyttundeb, yn achos cyfreithlawn. Nid cyfreithlawn ymneillduo o ran pethau diniweid. Nac o ran gwell moddion o adeiladaeth. Nid bai ymneillduo oddi wrth yr eglwys nad yw yn ceryddu ei llygredigaeth ei hun, pan fo i'w chamsyniad ei dymchwelyd dros ei sylfaen. Hynny yw, pan beidio hi â chyfaddef y gwir Dduw. Neu wadu nad Iesu yw y Crist; neu wadu iachawdwriaeth drwy ei haeddiant a'i gyfryngiad ef. Cyfaddef mai Iesu yw y Crist, yw cyfaddef bannau credo'r apostolion, y rhai sydd yn cynnwys yr holl sail. Tra fyddo i'r eglwys ymgynnal wrth y credo hwn, megis ei sylfaen, nid yw camsyniad mewn pethau eraill yn ei dymchwelyd. Ond y rhai cyfeiliornus sy*



* Cyffredinol.

*sy mewn cyflwr gwaeth nâ Christianogion uniawngred. Nid yw ei chymmundeb i'w esgeuluso o ran y camsyniadau hynny, er eu bod yn ymddangos yn frycheulyd, os na chymmellir hwynt. Nid bai ymneillduo oddi wrth addoliad lygredig pan fo i ryw bethau anwireddus halogi dyledswyddau cyhoeddus. Neu pan fo i ddefosiynau da gael eu ministrio mewn iaith anghynnefinol. Nid o ran defosiynau ac arferion diniweid. Nid rhaid ymneillduo o ran gweinidog yn dwyn anair, os bydd i wasanaeth yr eglwys fod yn ddi-fai. Nac o ran gadaw rhyw athrawiaeth heibio, yr hyn a allasai eu diwygio. Codw cymdeithas â'r apostolion drwy ymddarostwng i'r esgobion, y rhai sy'n cadw eu lle hwynt. Cristianogion i gyd uno mewn cariad, elusenau, a gweithredoedd da.*

## Y Bennod yn canlyn.

*Gofyn.* PA beth yw 'r nawfed bann yn y *credo?*

*At.* Yr *Eglwys Lan Gatholig*, a *Chymmun y Saint.*

*Gof.* A oes dim sicrwydd am iachawdwriaeth drwy *Grist*, ond yn ei eglwys?

*At.* Nag oes. Canys y *bedydd* (drwy'r hwn y'n gwnaethpwyd ni yn aelodau i'r eglwys) a gyffelybir i *arch Noa* gynt, yr hon oedd yn derhyn pob un a'r nad oedd i'w *gyfrgolli gyd â'r byd.* A *Christ* a roddir i ni megis *pennaeth yr eglwys, ac iachawdwr y corph. A'r Arglwydd a chwanegodd at yr eglwys y rhai a fyddent gadwedig*, medd *S. Luc.* Y mae gan ddynion ddifai hawl i ffafr Dduw o fewn yr eglwys, dan addewidion ac ammodau, mewn sicrwydd o'i ffyddlondeb ef. Ond tra byddont allan o honi, maent mewn cyflwr ansicr: canys eu heithaf hwynt yno yw rhyfygu

1 Pedr 3. 20, 21.
Eph. 5. 23.
Act. 2. 47.

rhyfygu ar drugareddau anghyfammodol. Y cyfammod a seliodd Duw â ni, sydd mewn perthynas i'r eglwys. A hwn sydd wedi ei gynnyg a'i sicrhau yn y gair yr hwn y mae yr eglwys yn ei bregethu, ac yn y sacramentau y rhai a ganiatteir ynddi.

*Gof.* Ai ni ddylai hynny ein gwneuthur ni (y rhai ydym yn proffessu Cristianogrwydd) yn ofalus am fod yn aelodau teilwng o'r corph hwn, drwy ymgadw mewn cymmundeb ag *eglwys Grist?*

*At.* Dylai yn ddiammeu. Canys heb hynny yr ydym, wrth ein crefydd, yn colli'r moddion gosodedig, a'r cyfleusdra, a phob amcanion ac addewidion iachawdwriaeth. Ein iachawdwr *Crist* a bennododd y grefydd *Gristianogol*, yr hon sydd raid i bob dyn ei chredu a'i harferu; a'r eglwys *Gristianogol* hefyd a bennododd efe, o fewn yr hon y maent yn proffessu'r ffydd honno, ac yn cymmuno megis aelodau o honi. A'r un *bedydd* (drwy'r hwn yr ydym yn proffessu ei grefydd ef) sydd yn ein gwneuthur ni yn aelodau i'r *eglwys.*

*Gof.* Pa ham y gelwir hon yn eglwys lan (neu sanctaidd) hefyd?

*At.* Oblegid mai hi ydyw'r corph hwnnw o ddynion, neu *rywogaeth etholedig, cenedl sanctaidd,* 1 Ped. 2.
*pobl briodol i Dduw.* Ac o herwydd mai pa fodd 9.
bynnag y gwnelont o ran buchedd, eu crefydd sydd broffes o sancteiddrwydd, megis y cyhoedda eu hadduned yn y *bedydd* wrth eu derbyn gyntaf i Gristianogrwydd. *S. Paul* sydd yn anfon ei lythyr, gan gyfarwyddo'r unrhyw, *At Eglwys* 1 Cor. 1.
*Dduw, yr hon sydd yn Corinth, y rhai a sancteidd-* 2.
*iwyd yng Nghrist Iesu.*

*Gof.* A pha ham y gelwir hi yn gatholig?

*At.* I ddangos ei *chyffredinol gyrhaeddiad*; ac nad mewn un genedl neu wlad yn unig y mae hi

yn sefyll, megis eglwys yr *Iuddewon* gynt. A'r *eglwys gatholig* sydd hefyd yn arwyddoccau yr holl gorph hwnnw, sef y Cristianogion ar hyd wyneb y ddaear, ac a fyddo i barhau drwy yr holl oesoedd. Gelwir yr eglwys hon yn gatholig hefyd oblegyd y ffydd gatholig o'i mewn, yr hon a ddylai fod mewn undod ym mhob man. Ac ynghysgod hyn y gelwir rhai eglwysi *neillduol* yn gatholig, o herwydd eu bod mewn cymmundeb â'r eglwys gatholig o ran cred, gan ddal yn erbyn gau-grefydd.

*Gof.* Gan fod yr eglwys hon yn gatholig o ran dynion a gwledydd: ai nid yw hi felly yn uno mewn perthynas i rai gweithredoedd pennodol, y rhai sy'n safadwy, ac yn rhwymo pawb yn gwbl ac ym mhob man.

*At.* Y mae hi yn gatholig o ran y derbyniad iddi drwy *fedydd:* yr hyn (o'i berffeithio mewn un eglwys) a wna ddyn yn gyfrannog o'r holl gymdeithas Gristianogol, gan roddi iddo hawl ar bob breintiau angenrheidiol mewn eglwysi eraill; ac efe a dderbynir i gymmundeb yr eglwys a fynno, heb ei ail fedyddio.

*Gof.* Gan hynny mae pob aelod i *Grist* a'r a gaffo gyfleusdra i weddio a derbyn y cymmun mewn un eglwys, yn rhydd i fwynhau yr un peth mewn eglwys arall?

*At.* Ydyw. Ac felly yr oeddid yn yr hen amser, yn eu derbyn hwynt wrth *lythyrau gorchymynedig* o sicrwydd oddiwrth eu heglwysi cartrefol; dieithriaid ac ymdeithyddion a dderbynid, megis brodyr, i gymmuno ym mhob gwledydd.

*Gof.* Ai nid cymmwys iddynt ymofyn am y cymmundeb hwn ym mhob man lle y byddont?

*At.* Ie, er mwyn ymddangos fel Cristianogion, gan adnabod eu brodyr ym mhob man, megis

eu

eu cyd-aelodau: Eithr hyn a ddigwydd yn unig lle y caffont eu derbyn ar ammodau cyfreithlon: Ond lle y bo iddynt gael eu cymmell i ryw bwynt a fo wrthwynebus i'r wir broffes, gyd â'r cyfryw ni ddylid cymmuno.

*Gof.* A ddichon fod y cyfryw nerth yn yr enw catholig hwn, mewn perthynas i weithredoedd eraill?

*Att.* Dichon, megis cau allan o'r eglwys y sawl a fai dan ysgymmundod. Canys pan ysgymmunir dyn wrth achos mewn un man, y mae efe felly ym mhob man nes y caffo gymmod yr eglwys. Efe a fwriwyd allan gan *Grist*, gan hynny y mae ef (o herwydd rhyw arferion anghristianogol) dan gyfiawn rwym gan eglwys *Grist*. *Yn wir meddaf i chwi, pa bethau bynnag a rwymoch, neu a attalioch ar y ddaear, a fyddant wedi eu rhwymo a'u battal yn y nef.* A chan fod *Crist* ei hun yn eu bwrw hwynt allan, nid eill un eglwys ynghred mo'u derbyn heb gymmod. Ac felly yr oedd yn yr eglwys o'r hen amser: lle os (o herwydd cyndynrwydd gau grefyddol, neu fuchedd anwireddus) bwrid hwy allan drwy *Grist*, gan eu heglwys eu hunain, nid oedd un eglwys * arall a'u derbyniai nes iddynt wneuthur eu heddwch drachefn. Ac i ochelyd diofalwch, neu gymmundeb diarwybod â dynion ysgymmunedig pan fyddai i wyr oddi dros y mor, neu ymdeithyddion (yn enwedig os byddai achos i'w hammeu) ddyfod attynt, ni chaent mo'u derbyn i'r † eglwys nes dangos o honynt eu *llythyrau ficrwydd*, i ddangos eu bod mewn cymmod â'u heglwysi eu hunain. A hyn a ddylai wneuthur i bob Cristion daionus fod yn bur ofalus trwy bob

Io. 20. 23. Mat. 18. 18.



* Canon. Apost. 10. 12. 32. Et Concil. Nicen. prim. Cap 5. & Ep. Cler. Rom. ad Cypr. Ep. 30 ed. Oxon.
† Canon. Apost. 12, vid Zonar. in loc. & Cap 33.

bob ffordd ddiniwaid i gynnal heddwch yr eglwys, a gochelyd ei chythruddo drwy anufudd-dod, neu gymmeryd y peth mor ysgafn a thybio, os bwrir ef allan ganddi mewn un man, y gall wneuthur cystal os derbynir ef mewn man arall. Yr hyn pei credai bob Cristion fel y dylai, ni byddai'r *athrawiaeth Gristianogol* fyth mor ammheus, ac ni thybiai neb (fel yr wyf yn ofni fod gormod yn gwneuthur) fod yr eglwys yn rhwymedig iddo ef o ran bod yn aelod o honi.

*Gof.* Pa beth yw credu *yn yr Eglwys Lan Gatholig?*

*At.* Nid credu yn unig fod y cyfryw eglwys mewn hanfod, eithr hefyd, yn gyfattebol i'r gred honno, rhaid i ni uno â hi mewn perthynas i'r holl foddion hynny a'n gwnaethant mewn undeb â hi, yn erbyn pob *newyddiawdwyr* terfysgus, a *gwabanwyr.*

*Gof.* Ai un corph ydyw'r eglwys hon?

Col. 3. 15. *At.* Ie. *Canys gelwir ni i dangnefedd yn un corph.* Ephes. 4. Ac nid oes ond *un corph*, megis *un yspryd*, *un* 4, 5. *Arglwydd*, *un bedydd.*

*Gof.* Ai un ydyw hon mewn pethau gweledig oddi allan?

*At.* Ie. Canys rhaid i *undeb oddi allan* yn y *swyddau cyffredin*, a *lles y gymdeithas*, ddangos ei bod (fel y mae'r ysgrythyr yn ei galw) yn *un corph*, ïe yn gyfryw undeb ac y gellir ei dirnad gan ddynion; ac fel y gallont ddywedyd fod y

Io. 17. 20—23. Cristianogion oll yn un grefydd. *Nid wyf yn gweddio dros y rhai hyn yn unig, eithr dros y rhai oll hefyd a gredant ynof fi, trwy eu hymadrodd; fel y byddont oll yn un.* A hynny mor amlwg, *fel y gwelo y byd*, ac wrth hynny *y gwypo*, *mai tydi a'm hanfonaist i, a charu o honot hwy megis y ceraist fi.* A'r undeb gweledig hwn sydd yn cynnal yr eglwys mewn *cymmundeb* a *chymdeithas*, sef eu tueddgarwch

tueddgarwch i gyd *weddio* a *chymmuno*; a'u hundeb mewn *addoliad Gristianogaidd*, mewn *ffydd*, a *chariad* y naill i'r llall. *Wrth hyn y gwybydd pawb mai Disgyblion i mi ydych, os bydd genych gariad i'ch gilydd.* Hynny yw, os bydd i chwi garu mor ddidwyll, nid yn unig mewn ffydd i Dduw a chariad i'ch gilydd, eithr mewn cyd addoliad hefyd, drwy gyd weddio a chymmuno. Canys ewyllysgarwch i addoli Duw ynghyd sydd yn dangos undeb gorphorol mewn disgybliaeth, a'u bod hwy oll yn weinidogion i'r un Arglwydd ac athraw. Ac o herwydd hyn y mae *gweddiau* a *sacramentau* yn osodedig mewn *undeb*, y rhai sy'n cyssylltu aelodau yr *eglwys* hon ynghyd. Ac medd *S. Paul* am y *sacrament Cristianogol* hwnnw, *nyni yn llawer ydym yn un corph, canys yr ydym ni oll yn gyfrannogion o'r un bara.* Ac am y *bedydd: Bedyddiwyd ni oll yn un corph. Canys cynnifer o honoch ac a fedyddiwyd yng Nghrist, un ydych oll yng Nghrist Iesu.* Ac ym mhlith yr amryw foddion, trwy ba rai y gwnair yr eglwys yn *un corph*, y mae efe yn gosod *un ffydd*, yr hon y maent oll yn ei phroffessu: Gan hynny, *un bedydd*, o'r hwn y maent oll yn gyfrannogion, *un Duw, ein Tad oll*, ar yr hwn y galwant mewn *un gobaith*; ac *un Arglwydd* sydd, yr hwn y maent oll yn ei wasanaethu, ac yn ei addoli.

Jo. 13. 35.

1 Cor. 10. 17.

1 Cor. 12. 13. Gal. 3. 27, 28.

Eph. 4. 4—6.

*Gof.* A ydyw'r *undeb gweledig* hwn yn arwyddoccau ymddarostyngiad yr holl *eglwys* dan *un pennaeth gweledig* sef *esgob Rhufain?*

*At.* Nag ydyw: y mae hynny yn ormod galwad a dyrchafiaeth mewn un gwr. Ac nid ydyw'r ysgrythyr yn crybwyll am y cyfryw lywodraethwr cyffredinol. Nid oes ychwaith cymmaint a son am dano ynghofrestrau yr *awdurdodau eglwysig*, lle nad oedd fodd i anghofio pennaeth y cwbl. Nac wrth lonyddu *hereticiaid*, neu

1 Cor. 12. 28. Ephes. 4. 11.

neu ddibennu *gwyrthddadleuon* ac *ymryfonau*, yr hyn oedd aml yn yr *eglwys* yn yr amseroedd hynny. Eithr mae'n debyg ped fuasai'r cyfryw un, y buasai i'r *apostolion* anfon atto, neu y buasai i'r *ymryfonwyr* eu hunain apelio i'w farn ef. Ein Harglwydd ei hun fydd yn rhagrybuddio ei ddeuddeg *disgyblion* (pan oeddynt yn ymryson
Luc. 22. *pwy o honynt a fyddai mwyaf* mewn awdurdod)
24—26. na byddai i un o honynt fod mewn *awdurdod* ar
Act. 15. y lleill. Ac ni cheisiodd *S. Pedr* awdurdod
7, 14. goruwch y lleill o'r *apostolion*, eithr efe a'i ymddygodd ei hun tuag attynt megis brawd. Ac ni cheisiodd efe ragori mewn unrhyw wrth-ddadl gyffredin, nac yn y *gyngborfa yng Ngbaerfalem*
Act. 15. (fel y gallai ddyn dybio wneuthur o *S. Iago*) ond
19. efe a roddes ei reswm a'i lef yn eu plith fel un cyd-radd â hwynt, pan oedd ei orchwyl ef megis
Act. 11. 2. newyddaidd ac amheus, yn enwedig *ei fynediad ef i mewn at Gornelius a'i gyfeillion* o'r *Cenhedloedd*, lle yr oedd y *brodyr o'r enwaediad* mor hyfion a'i alw ef i gyfrif ynghylch hynny, gan ymryson yn galed ag ef. A chan fod eu hunain ar fai, megis yn wir, yr oedd yntau o waith ei *fadaldod*
Gal. 2. *yn Antiocia*; ei gydymaith ei hun, fef *Paul* a'i
11—14. *gwrthwynebodd ef yn gyhoeddus* o'r achos. Yn y mannoedd hyn ac eraill y gwelir nad oedd mor fon am y cyfryw ben-rheolwr yn nyddiau'r *apostolion*. A'r un peth hefyd a ellir ei ddangos yn yr oesau ar ol hynny. Canys yr undeb gostyngedig hwn oedd rwymyn ar bob Cristion o fewn yr eglwys, ac a gynhaliwyd hefyd o'r tu allan iddi, Oblegyd yr oeddynt hwy oll megis cyd-frodyr; ond nid gan broffessu darostyngiad yr holl eglwysi dan un pen-rheolwr.

*Gof*. Mae'n rhaid bod *cymmun y faint* yn yr *eglwys* hon, yn rheolau'r *credo*: Pa beth a feddylir wrth y gair hwnnw, *faint*?

At.

*At*. Y *saint* hynny, yw'r *Cristianogion*. Eithr eu gelynion a'u galwant yn *Hereticiaid*, neu *Nazareniaid*. Ond yr enwau a gymmerent eu hunain, oeddynt, yr *Etholedigion*; y *Brodyr*, a'r *Cristianogion*, neu'r *saint* yn fynych, fel y gwelir wrth eu hannerchion yn llythyrau'r *Apostolion*. Act. 24. 5, 14. Col. 3. 12. Tit. 1. 1. Act. 9. 30. Act. 14. 2. Act. 11. 26.

*Gof*. A pha beth yw *cymmun y saint*, neu'r *Cristianogion* hyn?

*At*. Eu cyd-fyniad yn yr achos a'u gwnaeth hwynt yn *Gristianogion*, neu gyttundeb mewn *swyddau cyffredin* o ran *Cristianogrwydd*. Y mae yn angenrheidiol fod cymmundeb yn eu plith, o herwydd eu hundeb oll yn yr un corph. A'r cymmundeb hwn hefyd fydd raid iddo fod yn gyhoeddus i'r byd, yn ol geiriau ein Iachawdwr. Rhuf. 1. 7. 1 Cor. 14. 33. Jud. 3.

*Gof*. Mewn pa bethau y mae'r cymmundeb hwn yn gynhwyfedig?

*At*. Mewn ymroddiad i'r un *athrawiaeth*, *llywodraeth*, ac *addoliad*, yngystal mewn *gweddiau a sacramentau*. Canys yn y rhai hyn y mae S. *Luc* yn sefydlu cymmundeb yr eglwys. *Ac yr oeddynt yn parhau yn athrawiaeth, ac yngbymdeithas yr Apostolion, ac yn torri bara, ac mewn gweddiau.* Act. 2. 42.

*Gof*. Pa fodd y mae iddynt gadw yn yr un ffydd ac athrawiaeth?

*At*. Drwy ddilyn yr *ysgrythyr lan*, yr hyn beth a ddylai fod ym mhob man yn yr un drefn. Oblegid yr undeb hwn mewn ffydd fydd yn gofyn, nid yn unig ein creduniaeth oddi fewn, eithr ein proffes oddi allan hefyd. Er mwyn cadarnhau yr undeb yn y broffes hon: yn yr hen amser, fe a ddywedir iddi gael ei gosod mewn *ffurf o ymadroddion iachus*. Ac y mae rhai yn meddwl mai'r ffurf hon oedd *credo'r apostolion*, yr hwn fydd yn cynnwys yr holl athrawiaeth *gatholig* honno a'r fydd angenrhaid i wneuthur *Cristion da*, ac a dderbynir bob amser megis ffurf 2 Tim. 1. 13.

yn

yn y *bedydd*: Ni phroffeffodd y goreu mewn dyfgeidiaeth ddim ychwaneg, na'r annyfgedigddim llai nâ'r *gred hon* yn holl ddyddiau 'r *brif-eglwys*.

*Gof*. Y cyd-gordiad hyn mewn un rheol a threfn, a geidw yr *undeb* weledig mewn ffurf neu athrawiaeth. Ond pa fodd y gallant uno mewn gweddiau a defofiynau heb fod ganddynt yr un ffurfiau o weddiau a threfniadau?

*At*. Drwy eu harferu hwynt oll wrth yr un rheolau, ac i'r un tuedd ac amcan. Canys at yr un Duw y mae pawb yn ceifio cyfeirio, ac am yr unrhyw drugareddau cyffredinol, ar yr un ammodau, drwy yr un haeddiant a chyfryngdod, a thrwy'r un garedigrwydd brawdol y naill i'r llall, yr hyn a'u gwna hwynt yn un *fylwedd* mewn addoliad a defofiwn, er eu harferyd mewn amrafael fannau; ac mewn amryw ffurfiau, ymadrodd ac ieithiau.

*Gof*. Wrth hynny, cyn y bo *undeb yn yr eglwys*, mae'n rhaid i'r aelodau o'r corph hwn, weddio fel eu gilydd, a bod hefyd yn barod i addoli a gweddio gyd â'u gilydd. Ond pa fodd y bydd i ni gymmuno neu gyd-uno â phob Criftianogion mewn gweddiau, a hwythau mor anghyfbell o herwydd eu hamrafael drigfannau?

*At*. Nid ydym yn rhwymedig i gyd weddio â dieithriaid yn y byd, ond pan fo achofion i ddangos ein bod ni oll yn un corph; a bod yr eglwys yn un. Mae'n rhaid i ni gydfod mewn addoliad, a chroefawu ein gilydd mewn cymmundeb, heb rufo mewn rhagoriaeth ordinhadau, neu arferion mewn eglwyfi eraill, os bydd y ragoriaeth hon yn ddiniweid. Am y Criftianogion o'n *gwlad ein hunain*, y mae'n hawdd uno â hwynt mewn addoliad a rheolaeth hefyd. Canys yr ydym oll dan yr un gyfreithiau a chyfarwyddyd yfprydol.

*Gof*.

*Gof.* Beth meddwch am *weddio yn gyhoeddus.* Ai ni ddylai ddyn fod yn ofalus am ddyfod i *dŷ yr Arglwydd*, a chyd weddio â'r *gweinidog?*

*At.* Dylai. Canys, er bod Duw yn barod i wrando un dyn duwiol ar ei ben ei hun: etto, er mwyn harddu'r addoliad gyhoeddus, a chynnal y drefn yn weddus, mae efe yn hoffi'r gweddiau hynny a offrymmir yn y gynnulleidfa, drwy uno â'i *weinidogion.* Yn y modd hwnnw
yr ordeiniodd efe (yn y gyfraith Iuddewig) *offeir-* Ecs. 30.
*iaid i aberthu ac i losgi aberthau ddwywaith yn y* 7, 8.
*dydd*, yn *wasanaeth beunyddiol:* Diben yr hyn
oedd *dyrchafu gweddiau'r bobl*, y rhai a offrym- Luc 1.
ment tra parhae'r ministriad hwn, megis arogl 10.
i Dduw. A *Dafydd* (pan y mae yn dymuno cynnyrchiad ei weddiau) sydd yn chwennych
iddynt fod mor fuddiol a chael *eu cyfeirio gerbron* Sal. 141.
*Duw fel yr arogldarth.* Yn yr un modd y gwnai'r 2.
*pedwar henuriaid ar hugain* yn y *Datguddiad*, Dat. 5. 8.
hynny yw, yr *esgobion* a *bugeiliaid yr eglwys*; a dywedir fod ganddynt bob un (fel yr offeiriaid Iuddewig) *phialau aur yn llawn o arogl-darth, y rhai ydyw gweddiau'r Saint.* A phan fo i neb mewn *clefyd* chwennychu *gweddio, S. Iago* sydd yn ei gyfarwyddo i bresentio ei weddi drwy'r
*bugeiliaid*, gan *anfon am Henuriaid yr Eglwys.* Ac Iago 5.
*Iesu Grist* yr Angel hwnnw *gerbron yr allor yn* 14.
*offrwm gweddiau'r holl Saint*, sydd yn arwyddoccau'r *gweinidog* yn offrwm ein gweddiau ni, *y*
*rhai a roddir i fynu ym mwg yr arogldarth.* Gan Dat. 8.
hynny y mae'r gweddiau cyhoeddus hyn yn cael 3, 4.
eu hanfon at Dduw yn un corph, ac undeb rhifedi, yr hyn gan eu bod yn gyd erfyniadau, nyni a allwn gyfaddef eu bod yn gadarnach: heblaw eu bod o wefusau mwy cyfiawn nâ ein rhai ni: er
mwyn *pa rai*, fe allai Dduw fod yn fwy tueddol Gen. 20.
i wrando ein herfynion, megis y gwrandawodd 7.
ef

Job 42. 7, 8. ef ar *Job* dros ei *gyfeillion*, pan nad oedd eu *gweddiau* na'u *hoffrymmau* hwy yn *gymmeradwy* ganddo. Gan hynny, y mae'n berygl anesgusodol i ddynion fod mor anghrefyddol ag esgeuluso'r beunyddiol gyfleustra i weddio yn gyhoeddus, canys nid oes fodd i'w defosiynau cartrefol hwynt fod mor gymmeradwy.

*Gof*. Mae'n debyg mai cymmundeb mewn gweddiau yr ydych yn crybwyll am dano, er ysgatfydd na bo un bregeth yno?

*Att*. Nid â neb i'r eglwys i wasanaethu Duw (a'r a wyppo pa beth ydyw hynny) o ran pregeth
Esay 56. 7. yn unig, ond i weddio. *Canys fy nhŷ i a elwir yn dŷ gweddi i'r bobloedd*. Ar hyn y mae addoliad
Mat. 21. 13. Duw yn sefyll bennaf. Ac wrth hyn yr oedd y saint ym mhob lle ac amser, yn meddwl gwasanaethu Duw. A'r gwasanaeth hwn uwchlaw pob peth arall, y mae ein cyfryngwr yn ei roddi
Dat. 8. 3, 4. trosom, megis yn sefyll wrth yr *allor aur*, yr hyn yw *gweddiau'r Saint*. Y mae hynny yn arwyddo anwybodaeth, yn gystal ac annuwioldeb yn y sawl a ddywetto, "Nid af i o fewn yr eglwys, o ran "nad oes yno bregeth." Canys i weddio (yn un o'r pethau pennaf) y dylai bob Cristion fyned yno: oblegid hyn yw bywiowgrwydd ac ysprydoliaeth y cwbl oll.

*Gof*. Os ydym mor rwymedig i gynnal undeb athrawiaeth ac ydym i gadw undeb mewn addoliad gyhoeddus a chymmundeb: pa beth a wnair i *sismau, neu wahaniad yn yr eglwys* (neu yn ei *chymydogaeth* yn wir) gan wneuthur yr un eglwys hon yn amryw eglwysydd? Ai nid pechod yw gwneuthur eglwys arall, o ran gwahaniaeth mewn gweddiau a sacramentau un corph eglwys neu genedl?

*Att*. Ie yn wir, a phechod mawr hefyd (oni bai fod achos) Canys fe ddywed S. *Paul* wrth yr eglwys

eglwys yng *Nghorinth*, mai *trâ byddai un am Paul* 1 Cor. 3.
*ac arall am Apolos*, gan gynnwys *ymbleidiau yn eu* 3, 4.
*plith*, eu bod *hwy yn gnawdol, ac yn rhodio fel*
*dynion*. Ac yn *Rhufain* y mae efe yn erchi iddynt
*graffu ar y rhai oeddynt yn peri anghydfod a rhwystrau*, Rhuf. 16.
*gan gilio oddi wrthynt*. A hyn a ddywedai efe 17.
ynghylch *Sismau*, gan beri iddynt achub y blaen
arnynt, cyn myned o honynt yn *ymranwyr* cyhoeddus. Ac yna'r cyfryw aflonyddwch ac ymryssonau a ddarfyddent wrth eu gwres eu hunain. Canys er maint yr holl *ymbleidiau*, *a'r ymraniadau yng Nghorinth*, mae efe yn cyhoeddi eu bod
yn dal i *ddyfod i'r un eglwys ynghyd*, ac yn ym- 1 Cor. 11.
gyfarfod i gyfrannu yr un *addoliad*, ie ac o *swpper* 18, 20.
*yr Arglwydd* hefyd.

*Gof.* Pa beth yw'r achos i ymneillduo oddi wrth yr eglwys?

*At.* Os bydd i eglwys attal ei chymmundeb o eisiau cael bod yn bennaf ar bob eglwys arall a gwlad (megis, yn wir, y mae eglwys *Rhufain* yn chwennych bod) y mae achos i ymwrthod â hi. Canys nid oes fodd na phechwn o'i dilyn, pan welom ei bod (a hi yn bennaf) yn cynnwys rhyw bethau anwireddus mewn cymmundeb.
Mae'n rhaid i ni gynnal heddwch yr *eglwys hyd* Rhuf. 12.
*ile y bo ynom*: ond nid oes genym na gallu nac aw- 18.
durdod i wneuthur dim drwy fodd pechadurus. Mae'r eglwys ei hun yn sancteiddiol, gan hynny ni ddylem ni feddwl ymddangos yn aelodau o honi drwy wneuthur yn halogedig. Pan nis gallom ni gydfod â hi heb bechu, mae llef yr *ysgrythyr* yn
dywedyd *deuwch allan o'u canol hwy, ac ymddidol-* 2 Cor. 6.
*wch, ac na chyffyrddwch â dim aflan.* 17.

*Gof.* Pa fodd y bydd i'r *eglwys* osod arnom y cyfryw *bethau pechadurus* a hynny?

*At.* Pan nas derbynio ni i'w chymmundeb, heb i ni gredu neu broffessu rhyw gam-syniad

mewn

mewn ffydd, neu bechu o ran arfer (megis y mae eglwys *Rhufain* yn gwneuthur gan fwrw allan o'i chymmundeb y rhai oll na chredant mai hi yn unig sydd *ddifai*; a chredu'r *traws-sylweddiad*, yr hyn sydd gamsyniad mawr mewn ffydd; ac ymgrymmu i'r *deisen gyssegredig*; ac addoli'r *Delwau*; a gweddio at y *saint* a'r *angylion*: y rhai oll ydynt bechodau o ran arfer.

*Gof*. Gan hynny, ni thorrir undeb, ac ni phechir wrth ymneillduo oddi wrth y cyfryw gamsyniadau anghyfreithlon a'r rhai hynny?

*At*. Na wnair, eithr tueddir yn hyttrach at *Grist* a'i *apostolion*, a'r *eglwys gatholig* ym mhob oes: y rhai ydynt yn ymwrthod â'r cyfryw bethau llygredig. Yn y pyngciau neillduol hyn, y mae'r eglwys honno yn ei symmudo ei hun oddi wrth *Grist a'i eglwys gatholig*. Eithr nyni ydym yn cynnal undeb yr *eglwys gatholig*, gan sefyll gyd â hi yn erbyn y llall, o herwydd ei bod yn codi *ymbleidiau* ac yn prisio yn *ymwahanydd* neillduol.

*Gof*. Os nad oes achos arall i ymneillduo heblaw bod yn bechod gydfod a chamsyniad yr eglwys, nid iawn i ni ymwrthod ar achos bychan yn y byd?

*At*. Nage, canys nid ydys yn torri un gyfraith wrth gydfod â phethau nad oes gyfraith yn eu
1 Io. 3.4. herbyn, oblegid *pob angbyfraith yw pechod*. Gan hynny nid oes bechod mewn pethau gwaelion, y rhai ni byddent mwy yn waelion ped fai gyfraith yn eu herbyn. Nyni ydym i *gadw heddwch yr eglwys hyd y mae ynom*: a phethau diniweid sy megis cyfreithlon, o herwydd na waharddwyd mo honynt i ni: Pob Cristion a ddylai fod yn esmwyth o ran pethau gwaelion, nid yn unig gan ymddarostwng i *gyfreithiau eglwysig*, ond hefyd gan gyd-ddwyn ag *arferion diniweid yr eglwys*,

*eglwys*, gan fod *S. Paul* yn dywedyd mai digon o ddadl am achos bychan, oedd dywedyd, *nid oes genym ni gyfryw ddefod, na chan eglwysi Duw.* 1 Cor. 11. 16.

*Gof.* Ai nid camwedd ydyw ymwrthod â'r eglwys drwy esgus fod ei hathrawiaeth yn wannach nag eraill?

*At.* Ie. Canys yr oedd yr athrawiaeth yn wannach gan y *gynnulleidfa yng Nghorinth.* A llawer yn *llafaru â thafodau dieithr*, yr hyn nid allai athrawiaethu'r gwrandawyr *oblegid nas deallent*. Er hynny nid oedd gyfreithlon iddynt neillduo oddi wrth yr athrawiaeth fechan honno. *Canys tra byddo yn eich plith chwi ymbleidio, ond ydych chwi yn gnawdol?* Fe ddylai bob Cristion athrawiaethu ei eglwys, a'r eglwys a athrawiaethir oreu drwy undeb a thangnefedd. *Dilynwn y pethau a berthynant i heddwch, a'r pethau a berthynant i adeiladaeth ein gilydd.* 1 Cor. 14. 26, 27. Adn. 16, 17. 1 Cor. 3. 3. Rhuf. 14. 19.

*Gof.* Mysi a welaf fod achosion i ymneillduo oddi wrth yr eglwys os bydd iddi gymmell rhyw bechod neu gamsyniad mewn cymmundeb. Ac er i'r eglwys a fo wedi ei halogi gan y rhai hyn, fod mor weddol a pheidio a'u cymmell ar eraill, ai nid eill hi, er hynny, fod wedi ei llygru cyn belled ac y byddo yn amser i bob dyn bucheddol ymwrthod â'i chymmundeb, o ran ei enaid ei hun?

*At.* Os bydd iddi gamsyniad cyn belled mewn ffydd ac iddi lithro dros ei sylfaen, neu os ydyw ei llygredigaeth mor fawr a drygu rhan o'r addoliad cyn belled na wiw uno â hi mewn *gweddiau a sacramentau*, heb uno â hi yn ei llygriad hefyd, *ymddidolwch*, medd yr ysgrythyr yn yr achos hyn, *ac na chyffyrddwch â dim aflan. A deuwch allan o honi hi fy mhobl, ac na byddwch gyd gyfrannogion o'i phechodau hi, ac na dderbyniwch o'i phlaau hi.* 2 Cor. 6. 17. Dat. 18. 4.

*Gof.* Un achos, meddwch, yw *camsyniad ffydd*, yr hyn sydd yn ei dymchwelyd dros ei sylfaen. Pa beth gan hynny yw *sylfaen y ffydd?*

*At.* Y *pyngciau*, neu'r *bannau* hynny, y rhai a roddwyd yn *waelod* iddi; neu *sail y cyfammod Cristianogol*, i'r hon y'n bedyddiwyd oll; ac ar yr hon yr adeiladwyd yr eglwys. Y pyngciau hynny ydynt sylfaen yr holl addoliad a'r ufudd-dod i Dduw; sail yr holl ymddarostyngiad, a'r ymddiried, a'r anrhydedd tuag at *Iesu Grist*; a'r llafur a thycciant y galwyd ni iddynt wrth ddilyn buchedd sanctaidd. Holl byngciau'r ffydd Gristianogaidd ydynt o'r un *wirionedd*; eithr nid ydyw pob gwirionedd o'r un *lesbaad*, na phob llesħaad o'r un *angenrheidrwydd*. Mae yn angenrhaid i ni gredu'r cwbl oll pan ddangosir mai *Iesu Grist* a'u dysgodd hwynt. Ac heblaw hynny, mae yn angenrhaid i ni ystyried iddo ef ddysgu rhai pethau nad ydynt yn unig i'w credu o ran eu datguddio, ond o ran darfod eu datguddio hwynt, o herwydd eu bod yn angenrhaid i'w dysgu gan bawb a'i proffesont ef ei hun. A'r pyngciau hyn (y rhai ydynt lesol ac angenrhaid i gynnal addoliad a gwasanaeth Duw trwy *Iesu Grist*, ac yn gynhaliaeth i'r cyfammod Cristianogol, ac i'r eglwys, yr hon a adeiladwyd arnynt) a elwir yn *seiliau*.

*Gof.* Pa rai ydyw'r pyngciau hyn?

*At.* Un yw sail gyffredinol pob gwir grefydd *osodedig* a *naturiol*, yn gystal a *Christianogol*, sef *credu yn yr un gwir Dduw*, nid yn ei *banfod* ef yn unig, eithr yn ei *ragluniaeth* a'i *ofal* ef dros y rhai oll a'i carant Yn y modd hyn y mae
Heb. 6. 1. S. *Paul* yn gosod *ffydd tuag at Dduw*, megis un pwngc i'w roddi gyntaf ar lawr. *Canys rhaid*
Heb 11. 6. *i'r hwn sydd yn dyfod at Dduw mewn unrhyw fodd, gredu ei fod ef, a'i fod yn wobrwywr i'r rhai*

*rhai sy'n ei geisio ef.* Y ffydd yn yr *un gwir Dduw* a ddiddymmir pan fo i ddynion ei ddiystyru a'i wadu ef, neu droi at dduwiau *dieithr* (y rhai gynt oeddynt ysprydion cyfrannogion â'r **apostat*) Canys rhaid i bob gwir eglwys fod ag † *edifeirwch ganddi* oddiwrth eilynod at Dduw, yn gystal a *ffydd tuag at Iesu Grist. A hyn yw bywyd tragywyddol*, medd ein Iachawdwr, *iddynt dy adnabod di yr unig wir Dduw a'r hwn a anfonaist Iesu Grist.* Act. 20. 20, 21. Io 17. 3.
*Eithr efe yw yr Anghrist, yr hwn sydd yn gwadu'r Tad a'r Mab.* Os yr eglwys a ddyry ymaith *y gred i'r un gwir Dduw*, y sylfaen gyffredinol o bob gwir grefydd, nid yw hi amgen nâ chynnulleidfa o ryw ysprydion colledig, y rhai sy'n ymosod i gynnal duwiau'r cenhedloedd, ac nid eglwys y Duw mawr o'r nef. Felly pob eglwys nad yw yn *credu yng Nghrist*, nid yw mwyach yn *Gristianogol.* 1 Io. 2. 22.

*Gof.* Pan fyddo i'r eglwys broffessu ffydd i'r un gwir Dduw, myfi a welaf mai hynny yw sylfaen cyffredinol pob gwir grefydd: eithr pa beth yw sail bendant y *grefydd Gristianogol?*

*At.* Credu mai *Iesu yw Mab Duw a'r Grist; a bod iachawdwriaeth drwy ei haeddiant a'i gyfryngiad ef.* Pan addefodd *Pedr* mai *Iesu Grist oedd Fab y Duw byw*, ein Harglwydd a ddywedodd, *ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys.* A *S. Paul* a ddywed, *sylfain arall nis gall neb ei osod heblaw yr un a osodwyd, yr hon yw Iesu Grist.* A sylwedd y wybodaeth achubol a osodwyd allan gan ein Iachawdwr ei hun, fel y dywedais, ynghyd â'r *wybodaeth o'r gwir Dduw*, yr hon yw *adnabod Iesu Grist, yr hwn a anfonodd efe.* Tra bo i unrhyw eglwys feddiannu'r *ffydd hon yng Nghrist*, hi a fydd yn *Gristianogol*, a chanddi hawl i *fedydd*, Mat. 16. 16, 18. 1 Cor. 3. 11.

 megis

* Ymadawr a'r gwirionedd. † Troad.

Act. 8. megis y cyhoeddodd *S. Philip* i'r *eunuch*, yr
37, 38. hwn a fedyddiwyd, oblegyd iddo wneuthur cyffes
o'r ffydd hon. Eithr os gwad hi'r awdurdod
hon i *Grist*, a'i hyder ei hun arno ef am iachawd-
wriaeth, y mae hi, wrth hynny yn ddi-eglwys,
a chwedi myned yn anghristianogol, megis
eglwysi 'r *Iuddewon*, *Mahomet*, a'r *Cenhedloedd*;
ac nid yw hi mwyach yn gyfrannog o'r iach-
Act. 4. awdwriaeth gyffredinol. *Canys nid oes enw arall*
12. *drwy'r hwn y mae'n rhaid i ni fod yn gadwedig.*

*Gof.* Ai nid yw'r pwngc mawr hwn, sef *fod Iesu Grist yn iachawdwr*, yn egluro amryw byngciau eraill?

*At.* Ydyw. Canys nid allwn lai nâ chredu'r *ysgrythyrau* os nyni a gredwn mai'r *Iesu yw'r Crist:* canys yr *ysgrythyrau* ydynt yn dangos ei *gnawdoliaeth* a'i *ddioddefaint* a'i *adgyfodiad ef*, ynghyd â'r pyngciau eraill o'r *Credo*, y rhai a gyffesir gan bob dyn a'u deallo yn iawn. O herwydd pa ham, yn y tri amryw arddodiad o'r *pwngc mawr hwn*, a dangosiad y *ffydd achubol*, rhyw un neu ei gilydd o'r rhai hyn a chwanegir
1 Io. 4. megis hynodrwydd o'r cwbl: *gan gredu mai'r*
15. *Iesu yw'r Crist, a Mab Duw, fel y caffoch fywyd*
Pen. 5.1. *yn ei enw ef*, medd *S. Ioan*, gan ddangos mor
Io. 20.31. angenrhaid yw'r *sail* hon: eithr *S. Paul*, wrth
son am y brif athrawiaeth hon, sydd yn dywedyd:
1 Cor. 2.2. *ni fernais i mi wybod dim yn eich plith chwi, ond*
*Iesu Grist, a hwnnw wedi ei groeshoelio.* Gan
arwyddoccau'r wybodaeth achubol am yr *Iesu*
Rhuf. 10. a'i ddioddefaint. *Os cyffessi â'th enau yr Arglwydd*
9. *Iesu, a chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw, cadwedig fyddi.* Gan osod allan yr wy-
bodaeth achubol o *Grist* yn y gred o'i adgyfodiad.
A phan orchymynodd efe bregethu am dano ei
Act. 10. hun, medd *S. Pedr*, *efe a orchymynodd i ni bregethu*
42. *i'r bobl, a thystiolaethu mai efe yw'r hwn a*
*ordeiniwyd*

*ordeiniwyd gan Dduw yn farnwr byw a meirw:* gan eglurhau pregethiad *Crist*, drwy bregethu am farn i ddyfod. *Wrth hyn adnabyddwn Yspryd Duw: pob yspryd a'r sydd yn cyffessu ddyfod Iesu Grist yn y cnawd, o Dduw y mae. A phob yspryd a'r nad yw yn cyffessu ddyfod Iesu Grist yn y cnawd, nid yw o Dduw, eithr hwn yw yspryd Anghrist*, medd *S. Ioan*, gan yspysu cyffes *Iesu Grist* am ei gnawdoliaeth. A chan grybwyll am y dystiolaeth a roddasai Dduw i'r athrawiaeth Gristianogaidd, efe sydd wrth hyn yn cyhoeddi'r hyn a dystiolaethwyd ganddo ef ei hun. *A hon yw'r dystiolaeth, roddi o Dduw i ni fywyd tragywyddol, a'r bywyd hwn sydd yn ei Fab ef. Yr hwn y mae y Mab ganddo, y mae bywyd ganddo, a'r hwn nid yw ganddo Fab Duw, nid oes ganddo fywyd:* gan osod allan y grefydd Gristianogaidd a'r ffydd gadwedig drwy gred yn y bywyd tragywyddol. Ac am y gred yn yr *Yspryd Glan*, ein Harglwydd a fynegodd i ni yr angenrheidrwydd o hynny, a'n hymddiried yn yr *Yspryd Glan* cyn y byddem Gristianogion, pan orchymynodd efe i'r *bedydd*, sef dechreuad Cristianogrwydd, fod yn *enw'r Yspryd Glan*.

1 Io. 4. 2, 3.

1 Io. 5. 10—12.

Mat. 28. 19.

*Gof.* Hyn yn wir, sydd yn dangos maintiolaeth y pyngciau hynny, a bod yr ysgrythyr yn eu rhoddi hwynt o'n blaen megis rheolau cadwedig ac angenrhaid. Eithr dymunwn wybod a ydyw'r pwngc mawr hwn, sef mai yr *Iesu yw y Crist, a bod iachawdwriaeth drwy ei baeddedigaethau a'i gyfryngdod ef* yn rhoddi llawn oleuni o'r pyngciau eraill?

*At.* Mysi a ddangosaf yn fyrr, mai os na chredwn fod *Iesu yn Fab Duw*, neu yn meddiannu nattur y Duwdod, na ddylem ei addoli ef na'i anrhydeddu; ac mai os na chredwn ei fod ef yn *Arglwydd i ni*, na ddylem ei wasanaethu nac

 ufuddhau

ufuddhau iddo. Ac mai heb gred yn ei anedigaeth a'i ddioddefaint, nad ŷm ni yn ei adnabod ef ei hun megis *Crist ein gwaredwr*: canys efe a'n gwaredodd ni pan ddioddefodd trosom; ac oni buasai iddo ef fod yn ddyn megis un o honom ninnau, nis gallasai ef dderbyn marwolaeth. Ac am ei *adgyfodiad oddi wrth y meirw*, pa fodd yr ymddiriedem iddo ef am gynnorthwy, ped fai ini dybio ei fod etto yn farwol, neu gredu fod modd iddo i'n hachub ni pryd nad allai ef ei achub ef hun? Ie, a pha fodd y disgwyliem yr iachawdwriaeth hon oddi wrtho ef, er iddo adgyfodi, a'r *Yspryd Glan* i'n diddanu, oddieithr i ni gredu *esgyn o honaw ef i'r nef*, a'i fod ef yno yn ymddangos gerbron Duw (oddi wrth ba un y mae'r iachawdwriaeth i'w disgwyl drwy anfoniad y *Glan Yspryd*) i ymofyn am yr holl ddaioni a brynodd efe i ni drwy ei farwolaeth? Ac oni chredwn ei fod ef yno yn *eistedd ar ddeheulaw Dduw*, a chwedi ei wisgo â'r cyfryw allu ac a'i gwna ef yn *frenin* gogoneddus ac *achubwr*, oddi wrth yr hwn y mae pob gras a chynnorthwy yn dyfod, fel y bo'r angen a'r ddymuniad yn gofyn: Ac oni chredwn mai efe (yn ol ei addewidion, megis *Crist Frenin*, a roddes i ni gyfreithiau, a thalentau mewn ymddiried) a ddaw i *farnu byw a meirw*, ac i dderbyn ein cyfrifon: ni ddylem weithio yn ei wasanaeth ef, na'n tybio ein hunain yn deilwng i dderbyn y wobr addawedig. Ac yn ddiweddaf, heb gredu fod *maddeuant pechodau*, ac *adgyfodiad y cnawd* a *bywyd tragywyddol*, i'w derbyn yn yr eglwys er mwyn ei farwolaeth a'i gyfryngdod trosom, ni ddylem edrych arno ef megis ein Iachawdwr yr hwn a wna i ni orfoleddu tros bechod ac angau: ac ni allwn ni chwaith ein gwadu ein hunain, na gwrthwynebu drygioni, na threulio ein dyddiau yn ei wasanaeth ef, gan

ei addoli'n ffyddlon. A'r holl erthyglau hyn sy'n deilliaw oddi wrth y pwngc mawr hwnnw, mai'r *Iesu yw y Crist a'r achubwr*; ac sydd (ynghyd a'r bannau eraill yn y *credo* mewn perthynas i'r *Tad* a'r *Yspryd Glan*) *wir waelod i'r ffydd*, a sylfaen ein hufudd-dod i'r *Tad a'r Mab a'r Yspryd Glan*, y rhai ydynt y *personau* mewn cyfammod â ni, lle y mae sylwedd ein holl barch a'n hymddiried, a'n hymddarostyngiad i'r *Iesu*, a'n haddoliad, a'n gwasanaeth i Dduw trwyddo ef, a'r holl sancteiddrwydd buchedd a ynnillo i ni dderbyniad gan Dduw; o herwydd pa achos y gelwir y pyngciau hyn yn *sail y grefydd Gristianogol.*

*Gof.* Y mae credu mai'r *Iesu yw y Crist* yn fwy eglur yn yr ymadrodd o *gredu bannau'r ffydd*, oblegyd fod y rhai hynny yn amlygu'r holl byngciau; Eithr a ydyw y rhai hynny yn cynnwys yr holl *byngciau o wir gred* ac sydd angenrheidiol a feiliedig egwyddorion?

*At.* Ydynt. Canys hwy a wnaethpwyd yn arwydd-nod am bob gwir Grištion; ac wrth hynny nyni a allwn wybod nad oedd y *credo* wedi ei fwriadu i fod yn diffygiol o ddim a'r a wnai ddyn yn gwbl Gristion. Hwn oedd bob amser y ffurf o ffydd yn y *bedydd*; a hwn oedd y cwbl a'r y gredai'r anwybodus a'r dysgedig: oblegyd fod hynny yn ddigon i wneuthur dyn yn ddisgybl ac yn aelod i *Grist*. Hyn a gynhaliwyd yn nyddiau'r hen *dadau*, megis yn rheol a sylwedd y ffydd. *Yr arwydd-nod hwnnw oedd ddigon i ddangos pwy oedd yn pregethu Crist yn ol athrawiaeth yr apostolion, ac i ragori rhwng credadyn ac anghredadyn:* Yn yr hyn *yr oedd yr eglwys yn meithrin ac yn cateceisio ei phlant:* Ac ar fyr, yr hyn a gymmerid yn dyst cyffredinol am Gristianogrwydd yn ein plith. Yn ddiwedaf, gan fod awdwyr y *credo*, yn rhoddi ynddo rai

hanesion gwahanredol, gan ddangos pwy oedd y *barnwr* dan ba un y *dioddefodd Crist*; ac amser ei *adgyfodiad:* nis gellir meddwl fod dim byrdra yn y *credo*, yn enwedig mewn perthynas i sylwedd y *ffydd*.

*Gof.* Os bydd i ryw eglwys gan hynny broffessu'r *Credo*, yr hwn yw'r sylfaen, a ddichon hi barhau yn Gristianogol er cynnwys ynddi ryw feiau hynod, megis y mae *S. Paul* yn son am *adeiladu arni â choed, a gwair, a sofl?*

1 Cor. 3. 12. *At.* Dichon: Canys y neb a broffesso'r *Credo* a gaiff ei fedyddio fel y dywedais; a'r bedydd sydd yn derbyn y rhai hyn i'r eglwys, gan eu gwneuthur yn Gristianogion. A rhai eglwysi yn nyddiau'r *apostolion* a dderbyniasant rai beiau hynod; ac er hynny a gynnhalient eu *ffydd yng Nghrist*. Gan hynny, hwy a gyfrifwyd yn *eglwysi Crist* wrth anfon a derbyn llythyrau'r *apostolion*. Ac er mai erchyll yw ystyried yr ymwahaniad presennol *yng Nghred*, etto, (i Dduw y byddo'r diolch) *y Credo*, yr hwn yw sylfaen y ffydd, a gyffesir o gyd undeb, ac a broffesir gan bob eglwys Gristianogol drwy'r byd. O herwydd pa ham, er maint yw y rhagoriaeth, ac er amlycced y beiau o fewn rhai o honynt, o ran adeiladaeth ar y sail grybwylledig, mae'n rhaid i ni, er hynny, eu cyfrif yn *eglwysi Crist*, er, ysywaeth, fod rhai o honynt wedi gwyro a llygru llawer.

*Gof.* A ddichon i'r rhai hynny fod yn gadwedig?

*At.* Dichon, os nad oes rhyw beth arall yn rhwystr i'w hiachawdwriaeth heblaw'r cyfryw feiau, a bod o honynt dan y rhai hynny yn gwir ofni Duw, ac yn gweithredu cyfiawnder (canys *Crist* yw'r sylfaen sydd yn cynnal corph yr eglwys) gan fod yn gymmwys i'w derbyn i fedydd yr eglwys;

lwys; maent hwy felly yn meddiannu yr hyn ſy 'n angenrhaid i iachawdwriaeth. Hwy yn wir, a allant fod yn gadwedig er bod mewn camſyniad am ryw wirionedd pwysfawr, ond bod o honynt mewn amcanion di-ddrwg, er bod mewn cam gymmeriad o eiſiau gwell gwybodaeth, neu fethu meiſtroli rhyw gam-arferiad wedi hen wreiddio. Ond tra bo iddynt gadw'r ſylfaen, a chamſyniad yn unig mewn rhyw rannau oddi arnodd, er i'r rhannau llygredig hynny o *wair a ſofl*, gael eu llosgi, modd y dywed S. Paul, *a goddef o honynt golled*: etto, er mwyn y ſylfaen, y dyn ei hunan *a fydd gadwedig*, os na bydd iddo groeſawu'r camſyniadau drwy ddrwg amcanion, neu fod mor wrthnyſig a dal yn erbyn y dyſtiolaeth brofedig o'r gwirionedd, efe a *fydd gadwedig* meddaf, er maint ei anghyfarwyddyd yn adeiladu. 1 Cor. 3. 15.

*Gof*. Ai nid ydyw'r Criſtianogion, neu'r eglwyſi hyn, er camſyniad, yn gyſtal eu cyflwr ac eraill a faent yn fwy iawngred?

*At*. Nag ydynt, na chyn ſiccred eu gwobrau: Canys eu hymddangoſiad ym mhlith y rhai cyfiawn *ddydd y farn*, a fydd yn fwy enbydus. Mae pob beiau un ai i'w coſpi ai i'w pardynu, yn ol yr ewyllys i'w croeſawu neu i ymwrthod â hwynt. Ac oni bydd iddynt ddiwygio'r bai, fe a fydd yn fwy peryglus iddynt: megis y mae'r *apoſtol* yn cyffelybu'r dyn a ddiango oddi wrth gamſyniad i'r hwn a ddiango allan o *dŷ ar dân*, (Ac medd yr awdur ym mhellach, " *fe " a fydd hwnnw yn diangc drwy boen a blinder gan " oddef niweid a cholled*)" canys yr adeilad honno a fydd golledig, yn lle iddo dderbyn cyflog am ei hadeiladu: wrth hynny ni fydd y wobr am oſod y ſylfaen cymmaint ag i Griſtianogion eraill, y rhai a oſodaſant ar eu ſylfaen adeilad ddilwgr.

A dyma

A dyma feddwl yr *apostol* wrth grybwyll am * *dân i brofi aur* neu *arian*, yr hwn nid yw yn gwneuthur niweid iddynt, ond yn hyttrach yn eu puro. Eithr pan ddel at bethau llygredig, megis gwair, sofl neu'r cyffelyb, mae yn eu hysu hwynt ac
1 Cor. 3. 12—15. yn eu difa. *Os gwaith neb a erys dân*, yr hwn sy'n profi pob peth ddydd y farn, *efe a dderbyn wobr* am dano. *Ond os gwaith neb a losgir, efe a gaiff golled, eithr efe ei hun a fydd cadwedig, etto megis trwy dân*, hynny yw, ei gipio allan o'r goruwch adeiladaeth, pan fyddo i gyd ar dân, a'r flammau o'i amgylch. A'r ddiangfa, nid eill fod yn ddigolled, nag yn ddi niweidiol. Gan hynny nid eill gwobr yr adeiladwr anhyddysg a thosturus, fod cymmaint, ac mor ddiogel, ac ydyw gwobr yr iawngred.

*Gof.* Er bod i unrhyw eglwys sefyll ar y gwir sylfaen o ran ffydd: ai nid oes achos i ymwrthod â hi, ped fai ond o ran ymbell gamsyniad, er na bydd i ddi gymmell y cyfryw ar eraill?

*At.* Nagoes. Canys er ei bod hi tan y camsyniadau hynny, fel y dywedais, y mae hi fyth yn *eglwys Gristianogaidd:* ac ym mhlith pob gwir Gristianogion fe a ddylai fod *cymmun y saint*, neu barodrwydd

* Nid *Purdan* eglwys *Rufain*, yr hwn sydd (meddant hwy) yn unig i bechaduriaid, pechodau pa rai ni lwyr lanhawyd o'r blaen, a burir yno, un ai drwy'r tân ai drwy weithredoedd da ac erfyniadau y rhai byw, mewn offerennau, gweddiau, ac elusenau, y rhai a wnair trostynt gan eu cyfathrach yma ar y ddaear; a hyn oll o flaen *dydd y farn*. Eithr ar ol y dydd hwnaw, hwy a gyfaddefant eu hunain nad oes ond un gosp dragywyddol. Ond y tân hwn, os iawn ddeonglir, sydd i fod *ddydd y farn*, i brofi ac i eglurhau pob gweithredoedd. Y dydd mawr hwnnw a ddatguddir drwy dân (yr arwydd-nod o *ddydd y farn* yn 2 *Thes.* 1. 7, 8.) megis y mae amryw o'r *hen dadau* yn crybwyll am *dân i buro*'r ddaear a'r nefoedd; a phob dyn, a phob gwaith *aur* ac *arian* yn gyfial a *choed* a *sofl*. Eithr nid i fod yn *burdan* dros amser, fel y mae eglwys Rufain yn taeru ei fod.

barbdrwydd i gyd uno mewn addoliad gyhoeddus. Nyni allwn fod mewn cymmundeb â hi heb arnom berygl o'r achos, oni bydd iddi ofyn rhyw ammodau anghyfreithlon. Eithr y mae bai ar y sawl a ymwrthodo â'r eglwys heb achos. A dyna'r modd yr oedd yr *apostolion* yn dysgu'r *Cristianogion.* Canys llaweroedd o feiau mawrion oedd yn yr eglwysi, a rhai o honynt yn cyrraedd y *sylfaen*, megis *gwadu dyfodiad Crist yn y cnawd*, yr 2 Io. 7.
hyn oedd angenrhaid, fel y *byddai i ni hanfod o'r* 9—11.
*Tad a'r Mab:* eithr *gwadu* yr unrhyw sydd yn arwydd hynod o'r *anghrist* medd *S. Ioan.* A phob Cristion a waherddir rhag gwneuthur na *chymmundeb* na *chymdeithas* ag ef. Felly hefyd yr oedd yn eglwysi *Corinth*, lle yr oedd rhai yn gwadu'r *adgyfodiad*, a'r rhai hynny oeddynt yr 1 Cor. 15.
*Iuddewon defodol*, y rhai a ddywedent mai ang- 12.
enrhaid oedd osod *cyfraith Moesen* i fynu, a honno mewn perffeithrwydd, heb *aberth Crist:* ac wrth hynny yn bwrw ymaith bob *ymddiried yn ei waed ef am iachawdwriaeth.* A'r *apostol* a fygythiai y rhai hyn oll â barnedigaethau trymion, gan ddywedyd wrth yr *Iuddewon defodol* iddynt *dram-* Gal. 5.
*gwyddo oddi wrth ras*; ac *na lesaai Grist iddynt:* 2, 4.
Pen. 1.
a'r rhai oeddynt yn gwadu'r *adgyfodiad*, mai, os 6, 7.
felly, *eu bod hwy etto yn eu pechodau*; *mai ofer* 1 Cor. 15.
*oedd eu ffydd hwynt*, ac felly yr oedd *pregethiad yr* 13, 14.
*apostol:* megis yn peri i ni ddeall mai pe cawsent 16, 17.
hwy'r gair yn drechaf, hwy a wnaethent enw o 18, &c.
Gristianogion yn unig; ond mewn gwirionedd yn annheilwng i'w galw yn eglwysi Cristianogaidd. Ac eglwysi eraill, y rhai oeddynt yn cadw'r sylfaen, yn wir, oedd etto yn cynnwys rhai beiau yn yr adeilad, sef *yng Nghorinth*, *hwy a ddodasant* 1 Cor. 3.
*goed, gwair, a sofl ar y sylfaen*; ac a gynnhalient, nid yn unig feiau gweledig, eithr hefyd, rai arferion peryglus, megis fod *priodasau aflan* yn 1 Cor. 5.
gyfreithlon,

gyfreithlon, a bod hynny yn beth diniweid, hyd yn oed ym mhlith y *Bugeiliaid* eu hunain; ac
1 Cor. 8. ymgyfarfodydd mewn *gwleddau i eilunod*, yr hyn ni thybient hwy yn bechod, gan iddynt gredu
Adn. 4. *nad oedd eilun ddim yn y byd.* Ac yn *Colosus*, yr
1 Cor. 10. 19. oeddynt yn flysig am *goel grefydd*, gan osod crefydd mewn caethiwed anorchymynedig, wrth
Col. 2. 20—22. erchi *na chyffyrddent, na archwaethent, ac na theimlent:* y rhai oeddynt ddychymygion dynol
Act. 20. 30. yn unig. Ac yn *Ephesus*, lle y rhagddywedodd *S. Paul y cyfodai amryw yn llafaru pethau gwyrdraws.*
Rhuf. 14. 2, 5. Ac yn *Rhufain* a llawer o *eglwysi* yn y
Gal. 2. 14. *taleithiau* lle yr oedd gan yr *Iuddewon synagogau* ynddynt, heblaw'r *Iuddewon defodol* creulonaidd hynny, y rhai oeddynt yn gwadu ein *pryniad drwy Grist*, a *baeddedigaethau ei aberthiad ef.* Yr oedd rhai eraill yn credu hyn, ond etto yn cynnal yr angenrheidrwydd o gadw ordinhadau *Moses*, megis *rhagoriaeth mewn bwydydd a diodydd*, gan *ddysgu i'r cenhedloedd wneuthur fel yr Iuddewon.* Eithr ynghanol yr holl gamsyniadau gan *bleidiau terfysgus*, ac weithiau gan y rhan fwyaf o'r *eglwysi*,
Rhuf. 14. 2, 5. yr oedd yr *apostolion* yn erchi iddynt dderbyn pob rhai o honynt megis brodyr, y rhai a *dder-*
Gal. 2. 14. *byniasai Dduw* o herwydd y tra-mawr wirionedd a gynnhalient, ac i ochelyd *sismau ac ymraniadau*,
Rhuf. 14. 8. gan eu cyfrif megis pethau yn arwyddo *proffeswyr*
1 Cor. 3. 3. *cnawdol*; ac i gadw *rhwymyn tangnefedd.* Ac ar y
Ephes. 4. 3. sylfaen hon (mewn perthynas i ordinhadau apostolaidd) y mae *Protestaniaid* eraill yn barod i gymmuno gyd â'r *Lutheraniaid*, er bod rhagoriaeth rhyngthynt ynghylch deall yr *boll-bresennoldeb*, a'r *cyd-sylweddiad.* Ac ymddiffynwyr ein *heglwys* ein hunain, amryw weithiau, a gyhoeddasant eu parodrwydd i fod mewn cymmundeb ag *eglwys Rufain* mewn unrhyw bwngc o wir Gristianogrwydd, er maint y camsyniadau a roddwyd

roddwyd ar y sylfaen honno: Eithr eu cymhelliad a'n cadwodd ni allan, modd nad allwn (a chydwybod ddifrycheulyd) mor uno â hwynt. Eithr (hyd na waharddodd y *pab* iddynt) yr oedd rhai o * *eglwys Rufain* dros amryw flynyddoedd yn cael eu derbyn i'n sacrament ni yn amser y *frenhines Elisabeth*, er maint y rhagoriaeth rhyngthynt.

*Gof.* Myfi a dybygwn mai son yr ydych am uno â hwynt, pan fyddo eu camsyniadau ddim amgen nag ymrafael opiniynau yn eu mysg?

*At.* Ie; ond y maent hwy dros ben hynny pan fo iddynt osod amryw fath o addoliad lygredig ar y sylfaen, gan dorri undeb cymdeithas; ond os cynhaliant undeb cymdeithas ac heb fai yn eu haddoliad, er eu bod yn camsyniad mewn rhyw bethau bychain: nid rhaid i ni atteb am eu beiau hwynt tra bont yn eu cadw yn eu mysg eu hunain, a chan nad rhaid i ni uno â hwynt; a thra bo ini ein dewis ai ymwrthod ai peidio, neu fod ini gennad i ymddadlu â hwynt pan fo'r achosion yn bwysfawr mewn perthynas i eneidiau dynion, nid rhaid i ni mor cwyno.

*Gof.* Myfi a welaf mai pan drosedddo'r eglwys yn achos ffydd, y dylid ymwrthod â hi. Eithr chwi a sonasoch am *lygredigaeth mewn addoliad*: Pa bryd y dylem ymwrthod â'r eglwys o ran llygredigaeth addoliad?

*At.* Hynny a eill fod o ran rhyw fethiantrwydd o fewn unrhyw bwngc o'i *swyddau ysprydol*: neu pan arferir gweddiau a deisyfiadau at Dduw mewn *iaith na ddeallwn.*

*Gof.* Pa bryd y bydd hi yn rhy lygredig mewn pwynt o addoliad a gwasanaeth cyhoedd?

*At.* Pan dramgwyddo mewn ammherffeithrwydd oddi wrth addoli'r un gwir Dduw; neu wrthod

* Camd. Eliz. ad Ann. 1570.

wrthod addoli trwy gyfryngdod *Iesu Grist*, neu fod pechod yn gymmysg â'u gweddiau pan ddeisyfir gras a thrugaredd, neu o fewn eu sacramentau ym *medydd a swpper yr Arglwydd*, drwy'r hyn y selir y gras a'r drugaredd. Nid allwn ni mor bod yn grefyddol heb weddio, na gweddio at neb ond at yr un a'r gwir Dduw, na gweddio chwaith ar Dduw drwy neb arall ond trwy *Iesu Grist*: canys ni dderbynir gweddiau am gymmod tros bechod, trwy neb arall; ac nis gellir gofyn ei gyfryngdod ef, nes y bedyddir ni, gan ein gwneuthur yn aelodau o'i eglwys ef; ac nid ydym deilwng o'r cyfryw achubwr, nag yn sicr o'r bendithion y byddom ni yn gweddio am danynt, heb deilwng gyfrannu o *swpper yr Arglwydd*. Os oes un eglwys gan hyny wedi llothefu pechod o fewn ei gwasanaeth, nid allwn ni gyflawni y rhan angenrheidiol yn y weithred ysprydol o addoliad, mewn cymmundeb â'r cyfryw, heb dwyllo'r gydwybod.

*Gof.* Gan hynny, os bydd i swyddau cyhoedd un rhyw eglwys o fewn *crêd* gyfeirio ei gweddiau at greaduriaid byw neu ddelwau mudion, gan esgeuluso dyrchafu eu gweddiau at Dduw trwy *Iesu Grist* yn unig, eithr ymddiried i gyfryngdod *seintiau* meirwon ac *angylion*; neu halogi'r *bedydd* a *swpper yr Arglwydd* â rhyw gymmysg anghyfreithlon i lygru'r addoliad (er na chymmellir ar eraill) fydd ddigon i gadw pob Cristion teimladwy rhag ymgyfrannu â'u swyddau?

*Att.* Felly y mae; ac i'w hannog i edrych am well, os rhydd Duw o'i ragluniaeth iddynt gyfleustra. Canys fel y mae yn rhaid i ni fod yn ofalus i addoli Duw a'i wasanaethu, felly y dylem ofalu rhag offrwm atto ef ddim a'r a fo'n waharddedig na phechadurus, yr hyn sydd amharch yn lle anrhydedd iddo.

*Gof.*

*Gof*. Ond pan fo'r swyddau ynddynt eu hunain yn dda, ac yn cael eu cyflwyno at Dduw trwy *Iesu Grist*, eithr mewn *iaith ddieithr*: Ai digon yw hynny i beri ymlithro oddi wrthi?

*At*. Ie. Canys Duw sydd yn gofyn y *gweddiau a'r deall hefyd*. A Duw, gan ei fod yn *yspryd*, nis derbyn ond y rhai hynny'n unig, fel y mae *Crist* yn dangos, sef *y rhai a'i haddolant ef mewn yspryd*, yr hyn ni ddichon dyn ei wneuthur heb ysprydol gynnorthwy, gan na ŵyr efe pa beth y mae yn ei ddywedyd wrth Dduw. Felly os bydd i neb ryw eglwys gaethiwo ei gweddion cyhoedd a'i gwasanaeth mewn iaith na ddeallir, yna rhaid i ddyn defosiynol edrych am eglwys arall, lle y gallo efe uno mewn yspryd, yn yr un iaith â hwythau, fel y mae'r yspryd yn gofyn er *adeiladaeth*. Rhaid i ni ochelyd ymwrthod â'r eglwys a fo'n iachus, er ei bod ysgatfydd yn waelach ei hathrawiaeth. Ond nyni a ddylem neillduo pan fo'r athrawiaeth yn gwrthwynebu'r lles iachusol.

1 Cor. 14. 15, 16.

Io. 4. 23, 24.

1 Cor. 14. 26.

*Gof*. Os na bydd yn weddus i ni ymwrthod â'r lle bo'r fath feiau cyhoedd mewn eglwys, nid gweddus yn sicr i ni ymwrthod â hi o ran bod genym o honom ein hunain ryw wrthwyneb i rai o'i hordinadau, neu o ran achos bychan yn y byd?

*At*. Nage'n wir: canys y mae gwneuthur rhwyg yn y corph, a chynnwrf am ryw beth bychan yn dangos y neb a'i gwnelo yn aelod peryglus mewn cymdeithas. A gommedd ufuddhau i ryw hen *arfer ddiniweid*, medd *S. Paul*, a ddengys fod y cyfryw yn *hoffi ymrysonau*. Os bydd dyn yn Gristion catholig, rhaid iddo gydddwyn, nid yn unig â rhyw feiau bychain mewn arferion yn ei eglwys ei hun, yr hon sydd mewn awdurdod arno ef: eithr hefyd wrth achosion, ag arferion eglwysi eraill, er bod cryn ragoriaeth rhyngthynt

1 Cor. 11. 16.

rhyngthynt o ran trefn, os na bydd pechod yn y bai. Rhaid bod gan Gristion *catholig* ysbryd *catholig* hefyd, gan fod yn barod i gyfaddef pob *Cristianogion* eraill yn frodyr a chyd-aelodau ag ef, er maint eu gwendidau (oni byddant wedi eu bwrw allan o'r eglwys yn gyfreithlon) ac na bo un amser yn wrthwynebus i uno â'i gyd Gristianogion, mewn dim arferion a'r a fo'n tueddu at anrhydedd a gogoniant *Crist*.

*Gof.* Os nad yw gyfreithlon i ni ymneillduo oddiwrth eglwys o ran rhyw feiau gwaelion, a'r cyfryw rai yn rhwydd amlwg hefyd (megis yr oedd yn yr eglwysi yn nyddiau yr *apostolion*) nid yw gyfreithlon yn siccr neillduo o herwydd *gogan i fucheddau'r aelodau*, os bydd yr eglwys yn ddifai?

*At.* Nag ydyw. A dyna'r achos y mae *S. Paul* yn gymmaint yn erbyn *sismau yng Nghorinth*: Yn yr un man y mae efe hefyd yn achwyn ar halogedigrwydd amryw yn eu mysg a fyddent
1 Cor. 11. 21. yn *dyfod yn feddwon i swpper yr Arglwydd*. Ac hefyd ar eu *cynhennau*, *cynfigennau*, *llidiau*, *ymrysonau*,
2 Cor. 12. 20, 21. *angbydfyddiaethau*, *aflendid*, *godineb*, *ac anlladrwydd*; Am hyn yr oedd yr *apostol* yn ofni *y byddai i Dduw ei ddarostwng ef, pan ddeuai yn eu mysg hwynt*. Eglwys Dduw ym mhob oes dan yr *hen dadau*, ac yn nyddiau'r *Iuddewon*, oedd gymmysgedig o dda a drwg o ran buchedd. Ac o ran Cristianog-
Mat. 13. 47. rwydd, y mae hi yn ail i *rwyd yn casglu o bob rhyw*
Adn. 24. 25, 30. *bethau*; ac i *faes* lle yr hauwyd *efrau* yn gystal a *gwenith*; ac lle y mae yn rhaid i bob un *dyfu i fynu tan y cynhauaf* cyffredinol. Aflwydd yr eglwys bob amser, yw meddiannu rhai proffeswyr rhagrithiol. Gan hynny, pe byddai i ni ymwrthod ag eglwys dda ar yr achos hwnnw, fe fyddai raid i ni ymwrthod â hwynt oll. Ac erbyn hynny ni ddylai ddyn fyth ymwrthod ag

eglwys dda, er yſgatfydd, fod ynddi rai pobl lygredig, neu weinidog yn haeddu gwaradwydd: rhaid i ni ymneillduo oddiwrth y pechodau ſy'n peri'r gwaradwydd; a glynu wrth yr eglwys yr hon ſydd yn eu condemnio: Nid rhaid i'r da mor ymwrthod oblegid na fyn y drwg mor ymddaroſtwng tan reolau. Os yw yr eglwys yn ddi-ofal am eu ceryddu, nid rhaid i ni mor ymneillduo, medd yr *apoſtol*, er myned o'u pechodau hwynt yn rhŷ nerthol; a'r pechaduriaid yn rhŷ aml i'w daroſtwng, neu'r Bugail yn rhŷ ddiofal am eu ceryddu hwynt: megis yr oedd y *Bugeiliaid yng Nghorinth*, y rhai yn lle *galaru uwchben y gwr godinebus*, yn hyttrach *oeddynt yn ymchwyddo gyd ag ef*. Ac er hynny i gyd, ni fynnai *S Paul* glywed fod ganddynt *ddim tuedd i ymrannu*. Felly hefyd yr oedd ym *Mhergamus*, lle'r oeddynt wedi eu llygru ag *athrawiaeth* ddrygionus y *Nicolaitiaid*; ac yn *Thyatira*, lle yr oedd dilynwyr *Jezabel y gau brophwydes* yn cael eu *cynnwys i fyned ym mlaen* yn eu *godineb eilunol*. Ac mewn *eglwyſi* eraill, y rhai (un ai o ran nad eilid wrthynt, neu o wir eſgeuluſtra) a ollyngaſant *ddyſgeidiaeth* tan eu traed, gan oddef, neu dderbyn dynion dirmygus iddynt yn nyddiau yr *apoſtolion*, y rhai ni fynnent i neb ymwrthod â'r eglwys er hynny. Mae yn rhaid i'r eglwys fod yn attebol am eſgeuluſtra ei hawdurdod; a phechaduriaid am eu dirmyg i eraill. Eithr am y Criſtianogion yn gyffredinol, tra bo iddynt ymgadw oddi wrth eu harferion dirmygus, eu cydwybodau fyddant ddi euog. Heblaw hynny gynt, yr oedd cynnyddiad *ſiſmau* yn gwanhychu *athrawiaeth* yn fwy nâ dim: un gynnulleidfa yn derbyn dynion pan fai'r llall yn eu gwrthod. Gan hynny, y mae gwneuthur eſgus i ymneillduo o ran gwendid athrawiaeth, nid yn unig yn beth

1 Cor. 5. 2.

1 Cor. 3. 3.

Dat. 2. 15.

Adn. 20.

anfynhwyrol, eithr hefyd yn ddigon i wneuthur athrawiaeth (yr hon fydd eifoes yn rhy wan ganddynt) yn wannach fyth.

*Gof.* Wrth hynny, yr wyfi'n deall nad ydym yn euog o *fifm* o ran ymneillduo oddi wrth un eglwys drwy achos cyfiawn, ond etto fod pob ymadawiad oddi wrth *Gorph Crift*, heb achos, yn *fifm?*

*At.* Felly y mae: a dyna'r achos fydd yn annog eraill ar wahaniad, fef *drwy gymmell ammodau pechadurus* arnynt, o ran *cyflwr mewn cymmundeb*. Ond i fyrrhau'r cwbl; ymadawiad hollawl â'r eglwys yw, pan fo i ni, nid yn unig ymwrthod â chrefyddol gymdeithas ei Duwiol fwyddau, eithr gwadu hefyd ein bod yn aelodau o'r *eglwys Gatholig*. Llwyr ymwahaniad yw hyn, oblegid ni wna lai niweid nâ llwyr ddadwreiddio cymmundeb yr eglwys. Canys aelodau i *Grift* yn unig fydd i gymmuno tano ef, yr hwn yw eu pen yn y *fwyddau priodol o Griftianogrwydd*; *a chymmundeb y faint*, yr hwn a broffefir yn y *Credo*, a gynnhwyfir yn unig o fewn terfynau yr *eglwys gatholig*. O herwydd pa ham, os gerfydd i ni dorri ymaith neb ryw gymdeithas oddi wrth fod yn *aelodau Crift*; ac yn *wir eglwys*, nid oes a wneler â hwynt mewn cymmundeb mwy nâ'r *di-gred*. A hyn oedd yr ymrwygiad melltigedig a wnaethpwyd gan ddifgyblion * *Donatus*, a'r *Novatiaid* †: fifmau pa rai oeddynt yn gofod terfyn yr *eglwys gatholig* o fewn eu cymdeithas eu hunain, ac ni chyfaddefent nac eglwys na facrament, nac addewid am iachawdwriaeth, ond yr eiddynt hwy.

*Gof.* Y mae un pwngc etto ar ol, fef y cymmundeb ym *mhrif eglwys y Criftianogion*, yr hwn a grybwyllir

* Efgob *Carthage* yn *Affrica*.

† Gwŷr a fynnent wneuthur cyfreithiau newyddion at eu pwrpas eu hunain.

grybwyllir am dano gan *S. Luc*, sef *parhaad* Act. 2.
*ynghymdeithas yr apostolion*: Pa beth yw meddwl 42.
hynny?

*At.* Cyfaddef yr *awdurdod sydd ganddynt*, ac *aros dan eu llywodraeth*. Canys *Crist* a'u hordeiniodd hwynt yn rhaglawiaid ar yr *eglwys*. Gan hynny glynwn wrthynt hwy fel y maent yn swyddogion i *Grist*: hynny yw, *byw yn eu cymdeithas hwynt*.

*Gof.* A allwn ni fyw ynghymdeithas yr *apostolion*, ac ufuddhau i'w llywodraeth ar ol iddynt feirw?

*At.* Gallwn: canys y modd i wneuthur hynny yw ufuddhau i'n *hesgobion* ein hunain, y rhai ydynt yn rheoli'r eglwys. Fe a ddywedodd
*Crist* wrth ei *apostolion*, *y byddai efe gyd â hwynt* Mat. 28.
yn bresennol *byd ddiwedd y byd*. Bod gyd â 20.
hwynt, oedd, bod gyd â'u dilynwyr. Gan hynny, cadw cymdeithas â'r *apostolion*, yw ufuddhau i'n *hesgobion* cyfreithlon. Yr *Iuddewon* a ddywedent fod *yr hwn a anfonir, yn ail i'r hwn a'i hanfono*. A *Christ* a ddywedodd wrth ei
*apostolion*, pan oedd efe yn eu hanfon, *Y neb sydd* Mat. 10.
*yn eich derbyn chwi sydd yn fy nerbyn i.* A'r *hwn* 40.
*sydd yn derbyn yr hwn a anfonwyf, sydd yn fy nerbyn* Io. 13.
*i.* Ac y mae'r *apostol* yn canmol y *Galatiaid*, 20.
iddynt ei *dderbyn ef*, nid yn unig megis *angel* Gal. 4.
*Duw*, ond megis *Crist Iesu*; A *S. Ignatius y merthyr* 14.
oedd yn nyddiau'r *apostolion*, yn canmol y *Tralliaid*, eu bod hwy *mewn ufudd-dod i'w hesgob yn yr un modd ac i Iesu Grist*; ac i'w *henuriaid megis i'r apostolion*. Ac mewn hanesion *ysgrythyrol* a chyffelybiaethau cyfreithlon, yr un modd y cyfrifwyd pob rhyw ddynion a'r rhai danynt mewn anfoniad wrth achosion. Ac felly, cynnal ufudd-dod i *esgobion* yr eglwys, ym mhob oes (y rhai a ordeiniwyd gan yr *apostolion* lle y der-

 byniasant

byniasant awdurdod hefyd i ordeinio eraill i fod ar eu hol hwythau) yw cadw cymdeithas ac ufuddhau i'r *apostlolion*, ac i *Grist Iesu* trwyddynt hwy.

*Gof.* Y mae byw mewn ufudd-dod i'r *esgobion* ynte yn rhan o *gymmundeb y saint*: am hynny gochelwn wrando ar y cyfryw hudolwyr ac a fynnent ein denu oddi wrthynt, eithr ymgynhaliwn gyd â hwynt yn erbyn pob ymranwyr gwrthwynebol?

Heb. 13. 17. *At. Ufuddhewch i'ch blaenoriaid, ac ymddarostyngwch. Creffwch ar y rhai sy'n peri anghydfod a rhwystrau, a chiliwch oddi wrthynt*, medd yr

Rhuf. 16. 17. *apostol.* Bydded eu hesgusion a'u hymddangosiad o'r fath a fynnont, os ceisiant ein denu ni i ymwrthod â'r llywodraeth heb achos, nid o Dduw y maent; nid yw ei yspryd ef yn myned gyd â hwynt; nid yw efe yn arwain i sism ac anghydfod.

1 Cor. 14. 33. *Canys awdur tangnefedd yw efe, ac nid anghydfod.* Ni rydd Duw mor achos i ni ymwrthod â'n llywodraethwyr ysprydol, gan mai glynu wrthynt hwy yn nyddiau'r *apostolion*, oedd yr arwydd i adnabod rhagoriaeth rhwng ysprydion da a drwg.

1 Io. 4. 6. *Nyni ydym o Dduw; yr hwn nid yw o Dduw, nid yw yn ein gwrando ni; wrth hyn yr adwaenom yspryd y gwirionedd, ac yspryd y cyfeiliorni.*

*Gof.* Os bydd dyn yn ofalus i gredu ac arferu cyfraith *Grist* a'i athrawiaeth, ai nid ydyw hyn yn ddigon i'w wneuthur ef yn Gristion da, heb orfod ufuddhau i lywodraethwyr eglwysig na'u hathrawiaeth?

*At.* Nag ydyw. Canys un o gyfreithiau *Crist*

Heb. 13. 17. yw *ufuddhau i'n blaenoriaid, y rhai ydynt yn gwilio ein heneidiau, gan ymddarostwng.* Mae efe yn

1 Cor 14. 26, 40. erchi iddynt fod yn ofalus am *wneuthur pob peth* mewn perthynas i'w addoliad ef, *er adeiladaeth*, gan erchi iddynt ufuddhau ac ymddarostwng i'w hordinhadau

hordinhadau hwynt. Nid wrth gredu a phroffeſſu'r *grefydd Griſtianogol* yn unig y mae dyn yn *Griſtion da*, ond wrth ddangos hefyd ei fod ef yn *aelod o'r eglwys Griſtianogaidd*. Ac nid aelodau cymmwys yw y rhai nid ufuddhant i'r corph, gan fod mewn cymmundeb â'i ſwyddau.

*Gof.* A ydyw *cymmun y ſaint* yn arwyddoccau *cymmundeb* mewn *athrawiaeth Griſtianogol*, *addoliad* a *llywodraeth?* ai nid yw hefyd yn arwyddoccau *cymmundeb* mewn *cariad*, *gweithredoedd da* ac *eluſenau*, a'r cyffelyb bethau *oddi allan?*

*At.* Ydyw: *Yn gwneuthur daioni a chyfrannu* Heb. 13.
*nac angbofiwch*. A derbyniad eu rhoddion eluſ- 16.
engar y mae *S. Paul* yn ei alw yn *gymdeithas a* 2 Cor. 8.
*gweinidogaeth y ſaint*. Pan oedd y cyfyngder 4.
gynt *yng Ngbaerſalem*, rhagorol oedd yr eluſendod yno: Canys y rhai cyfoethogion a *werthaſant* Act. 2.
*eu meddiannau*; *ac yr oedd pob peth ganddynt yn* 44. 45.
*gyffredin*: o'r hyn y cyfrannwyd gan yr *apoſtolion* Act. 4.
*i bob un megis yr oedd yr angen arno*. Ac mewn 34. 35.
mannau eraill, lle nad oedd yr arfer hon, yr oedd cymmundeb ym mhob gweithred dda mewn pethau oddi allan, yn arferol ganddynt, tuag at y brodyr tlodion. Eu rheol (fel yr *oeddynt* Gal. 6.
*yn cael amſer cyfaddas*) oedd *gwneuthur daioni i* 10.
*bawb, ond yn enwedig i'r rhai oeddynt o deulu'r ffydd*. A gwneuthur daioni i'r rhai hyn, yn fwy enwedig pan oeddynt ar ymdaith, megis dieithriaid, ac yn ffoi o fan bwygilydd o herwydd *crefydd Criſt*, oedd yr *eluſenau a'r lletteugarwch* Rhuf. 12.
a ganmolir yn yr *yſgrythyrau*. 13.

*Gof.* Pan erlidier *Criſtianogion* o wlad ddieithr, 1 Pedr 4. 9.
a dyfod o honynt i'n myſg ni er mwyn *Criſt*: Heb. 13.
myfi a welaf mai derbyn y rhai hyn yn ein tai, a 2.
chyfrannu iddynt yn ol ein gallu, a gyfrifir yn gymmeradwy gan Dduw?

*At.* Dyna'r *gweithredoedd* da a grybwyllir am danynt gan *Grist* yn ein plaid *ddydd y farn*, sef
Mat. 25. *Deuwch chwi fendigedigion, etifeddwch y Deyrnas.*
34, 35. A S. *Paul*, pan yw yn dywedyd am *gyfrannu i gyfreidiau'r saint*, sydd yn ein hadgofio yn bendant
Rhuf. 12. 13. am *letteugarwch.*



## PENNOD VII.

## AM FADDEUANT PECHODAU.

### Y CYNHWYSIAD.

*Dangosiad pa beth yw pechod. Pechodau gwirfodd. Pechodau mewn anwybodaeth, a phechodau dirgel, a phechodau digofus. Maddeuant am bechod, neu ryddhaad oddi wrth gospedigaeth. Pan arbedir cospedigaeth dragywyddol, cospedigaeth bresennol neu amserol a wnair. Yr amser i arbed y cospau hyn. Gollyngdod am bob math ar bechodau, oddieithr cablaidd yn erbyn yr Yspryd Glan. A gwrth-gil gwirfodd oddi wrth Gristianogrwydd. Pechodau gwirfodd yn faddeugar pan edifarhaom, a maddeu o honom i eraill. A phechodau diarwybod, a rhai di gyfrif yn faddeugar drwy ein helusendod i eraill. Y maddeuant hwn oddi allan dan ammod yn y Bedydd, y sacrament, a Gollyngdod yr Offeiriaid. Gallu'r Agoriadau mewn attaliad yn gystal ac mewn gollyngdod, yr hyn a ddylai beri arswyd difrifol mewn ysgymmundod. Pa beth a feddylir wrth i ni faddeu pechodau. Y defnydd yr ym ni i'w wneuthur o faddeuant pechodau.*

Y Bennod yn canlyn.

*Gofyn.* PA beth yw 'r degfed bann o'r *Credo?*
*At.* Yr ydwyf yn credu *maddeuant pechodau.*

*Gof.* Pa beth yw pechod?

*At. Toriad y gorchymynion*, neu drofeddiad yn erbyn cyfraith Dduw, a bod yn euog o'r peth

 y mae

y mae Duw yn ei waratun, neu ommedd gwneuthur yr hyn a erchir i ni gan y gyfraith: *pechod sydd yn anghyfraith.* A holl gyfreithiau Duw ydynt gynnwysedig yn yr *ysgrythyrau sanctaidd.*

1 Io. 3. 4.

*Gof.* Gan hynny, nid ydym ni yn digio Duw, ac nis dioddefwn am ddim, ond o achos trosedda yn erbyn yr *ysgrythyrau*, gan ein bod yn gweled y gyfraith yn erbyn hynny?

Rhuf. 5. 13. Rhuf. 4 15. 1 Cor. 15 56. Rhuf. 5. 20.

*At.* Na wnawn: *canys ni chyfrifir pechod lle na bo gyfraith. A'r ddeddf sydd bob amser yn peri digofaint*, sef yn gwneuthur yn euog. *Canys lle nad oes ddeddf, nid oes gamwedd. Grym pob pechod yw'r gyfraith. Y ddeddf a ddaeth i mewn fel yr amlhaai y camwedd.*

*Gof.* Nid oes gan hynny mor achos galw cyfraith i ddangos fod y cyfryw beth yn ddi bechod: oblegid os oedd y gyfraith yn erchi iddo fod felly, nis gallai lai nâ bod yn gyfreithlon ac yn angenrhaid: eithr digon yw dangos nad oes gyfraith yn erbyn y peth; yna nid eill mor bod yn anghyfreithlon.

*At* Gwirionedd yw: Canys nid oes bechod nes y gwaherddir gan y gyfraith.

*Gof.* Pa beth yw *pechod gwirfodd?*

*At.* Pechod drwy wybodaeth. Neu wneuthur drwg, er y gwyddom ein bod yn digio Duw, sef un ai pan fyddom yn gwybod oddi wrth y drwg, neu fod mor annheimladwy, o herwydd arfer, a phechu heb ystyried.

*Gof.* Os bydd i ddyn wrth arfer, ei ollwng ei hun i dyngu, neu ddywedyd celwydd, heb ystyr ei bechod, chwi a ddywedwch fod hyn yn bechod gwirfodd, er nas gwyr oddiwrtho?

*At.* Ydyw yn ddi ammeu. Canys efe a gynnefinodd â'r accen honno, yr hyn a'i gwna cyn belled oddi wrth fod yn esgusodol a'i fod yn gwneuthur ei bechod yn drymmach fyth. *Cynnefindeb*

*ewyllysgarwch i bechu* a elwir yn *ddeddf pechod, a chorph marwolaeth*. Rhuf 7. 23 Adn. 24.

*Gof*. Pa beth os rhydd dyn y cyfryw fryd ar bechu, ac y bydd iddo ffrwyno ei holl feddyliau cydwybodol rhag ei rwystro: neu nid hwyrach iddo ei dwyllo ei hun, gan dybio na bydd ar fai, neu ysgatfydd ei fod yn haeddu clod am y weithred?

*At*. Dyna drofeddwr gwirfodd yn wir. Canys ei ewyllys ei hun sydd yn ei wneuthur ef yn ddall, megis y gwnaeth i'r *pharisfeaid* a'r lleill o'r *Iuddewon*, y rhai oeddynt yn *ddeillion o'u gwirfodd*. Mat. 13. 15.

*Gof*. Pa bryd y bydd pechod gwirfodd yn *erbyn cydwybod*?

*At*. Pan weithredom yn erbyn y meddwl, a than ofn ac arswyd.

*Gof*. Pa bryd y mae pechod mor bell yn erbyn cydwybod ac y gelwir ef yn *bechu o ran dewis*? yr hyn, dybygwn, sydd uwch gradd o *ewyllysgarwch*?

*At*. Pan bechom drwy wrthwynebu arswyd a chyfyngder meddwl, ar ol ystyried ynom ein hunain, pa un oreu ai gwneuthur y peth ai peidio.

*Gof*. Pa beth ydyw pechod o *anwybodaeth*?

*At*. Pan wnelom ryw beth heb wybod ei fod yn bechod, na'n bod yn canfod ei fryntni.

*Gof*. A ydyw anwybodaeth yn esgusodi dyn?

*At*. Ydyw, os na bydd iddo fod yn anwybodol drwy euogrwydd esgeulustra, neu wedi ei ddallu drwy anwydau drwg. Ar yr achos hwn y dywedir fod *Crist yn tosturio wrth y rhai sy mewn anwybodaeth ac amryfusedd*. Ond pan elont na waeth ganddynt fod heb na gweled na deall, mae'r wybodaeth honno yn feius. Heb. 5. 2.

*Gof*. Pa beth os bydd i ddyn rag-fwriadu gwneuthur

gwneuthur cam, a hynny o achos opiniynau amryfus. Ai ni bydd i'r cyfryw fod yn esgusodol os efe a weithreda yn ol ei gydwybod?

*At.* Na fydd, oddieithr fod rhyw gamsyniad
Act. 3. tosturus yn ei gydwybod. Yr oedd yr *Iuddewon*
17. yn dilyn cydwybod wrth *groesboelio Crist:* eithr
1 Cor. 2. Duw a'u barnodd hwynt yn *fradwyr a llofruddion*
8. Act. 7. er hynny. *Paul, yn wir a feddyliodd y dylasai efe*
52. *erlid yr eglwys:* eithr yn hynny y mae efe yn ei
Act. 26. gyhoeddi ei hun yn *bennaf o bechaduriaid. Yr*
9. *awr sydd yn dyfod,* medd ein Iachawdwr, *y tybia*
1 Tim. 1. 13, 15. *pwy bynnag a'ch lladdo, ei fod yn gwneuthur gwa-*
Io. 16. 2. *sanaeth i Dduw.* Ond er hynny y byddai i Dduw
Mat. 23. ddial ar y cyfryw am *waed y gwyr cyfiawn* hynny.
35. Nid yw ddigon i ddyn ddilyn cydwybod, oni bydd iddo gymmeryd gofal ar fod ei gydwybod yn uniawn; neu pan ddigwyddo i'r gwrthwyneb, o achos rhwystr, nid o ran esgeulustra gwirfodd, neu anwydau di-doriad.

*Gof.* Pa beth yw pechod *diarwybod?*

*At.* Pan nas gwyddom lai nad pechod yw, ond na chawn mor amser i ystyried y drwg pan fyddom yn ei wneuthur. Mae hynny yn digwydd yn fynych o herwydd gwneuthur y peth mor fyrbwyll, neu cyn ei ystyried, yr hyn a bair ei alw yn bechod *diarwybod,* megis yn dyfod arnom heb ei ddisgwyl; neu bechod *disymmwth.* Ac felly y mae yn digwydd o waith rhyw faleisiau buan, megis nwyfiant, cynfigennau, neu eraill feddyliau drygionus, yn oed geiriau byrbwyllaidd i ennynu digofaint, o'r rhai y mae'r dynion goreu yn euog ar amserau. Hyn oll ydynt droseddiadau byrbwyllaidd i dosturio wrthynt, nes y bo iddynt eu hystyried gan fod yn ofalus am eu ffrwyno a'u hattal: y rhai o ran ein mynych dramgwyddiadau mewn mwy neu lai o honynt, a elwir yn *ymgyrchiadau beunyddiol.*

*Gof.*

*Gof*. Pa beth meddwch am bechodau o wir *anwydau*, pan fo un ai cydwybod ai ewyllysiwr da i ni, yn dywedyd ein bod yn gwneuthur drwg, ac yn myned ym mlaen er hynny, o herwydd maint yr anwydau a'r tueddiad yn ein gyrru ?

*At*. Nid ellir galw mor cyfryw beth a hynny yn gwbl wirfodd. Canys pan fo'r anwydau mor nerthol a hynny, mae'r meddyliau mewn caethiwed, pryd nas gall mo'u gwrthwynebu. Ond y mae efe yn haeddu ei gospi yn gystal a phechadur gwirfodd. Canys y mae beiau gwirfodd ar ddynion o eisiau marweiddio eu gwyniau afreolus. Ni ddylai y rhai sy'n perthyn i *Grist* mor goddef i'w hanwydau ymddyrchafu mor nerthol ac iddynt feistroli arnynt a'u caethiwo. *Y rhai sy'n eiddo Crist a groeshoeliasant y cnawd a'i wyniau, a'i chwantau.* Gal. 5. 24.

*Gof*. Wrth hynny, mysi a welaf pa beth yw pechod. Eithr pa beth ydyw'r maddeuant am dano ?

*At*. *Gollyngdod oddi wrth y gosp* sydd ddyledus am dano. Canys Duw sydd yn maddeu'r pechod pan fo iddo ryddhau'r pechadur oddi wrth y gospedigaeth am dano. A chan fod hyn yn diddymmu'r pechodau, fe a'i gelwir yn *guddio pechodau*, ac *heb eu cyfrif iddynt*. Rhuf. 4. 7, 8.

*Gof* Pa beth yw'r gosp ddyledus am bechod ?

*At*. *Marwolaeth* ac *afiechyd*; a phob *trueni yn y byd hwn*; a *thragywyddol boenau y tân uffernol yn y nesaf*.

*Gof*. Nid ellir lai nâ meddwl y bydd i ni gael ein harbed oddi wrth dân uffern pan gaffom faddeuant. Eithr pan ryddhair y poenau sy'n digwydd yn y byd nesaf, a ryddhair y ceryddon haeddol i ni yn y byd hwn hefyd ?

*At*. Na wnair: *canys cyflog pechod yw marwolaeth*. Rhuf. 6. 23.

*aeth*. A phan fo dynion, o waith eu pechodau wedi di-anrhydeddu Duw, neu beri tramgwydd i'w cymmydogion, mae Duw (er egluro cyfiawnder ei ragluniaeth) yn eu ceryddu hwynt â barn bresennol, weithiau ar ol iddynt edifarhau: ac wrth hynny y mae efe yn eu rhyddhau oddi wrth boenau tragywyddol. Megis pan ddywed-
2Sam.12. odd *Nathan* wrth *Ddafydd* edifeiriol, *ddarfod i*
13, 14. *Dduw* wrth weled ei edifeirwch ef, *dynnu ymaith ei bechodau*. Felly, o ran ei gyfrif diweddaf, efe oedd yn rhydd: etto o *herwydd iddo beri i elynion yr Arglwydd gablu drwy'r pethau hyn*, efe oedd i'w gospi yn y byd hwn; *a'r plentyn a fyddai marw* o'r achos. A llawer o ran eu hedifeirwch
1Cor.11. *yng Nghorinth, ni chaent eu condemnio gyd â'r byd*
30, 32. *drygionus* ar y dydd diweddaf: etto, o achos eu hammarch i *swpper yr Arglwydd*, yr oeddynt hwy yn *weiniaid, a llesg*; ac a *hunasant* yn y byd pre-
1 Bren. sennol. *A gwr Duw o Juda* a gafodd, yn dosturus,
13. ei dwyllo gan *brophwyd* gwenhieithus, heb ynddo ddim cam fwriad, hyd lle y gwyddis, ond a lefodd yn hŷ gan gyhoeddi gair yr Arglwydd yn erbyn *Jeroboam* a'i *allor*; eithr nyni a allwn obeithio iddo ef gael ei arbed mewn perthynas i'r byd nesaf. Etto, yn y byd hwn, Duw a'i cyfarfu ef ar y ffordd, gan anfon *llew* i'w ddifetha, am iddo wrando ar hudolwr, a bwytta bara yn erbyn *gair yr Arglwydd*. Yr hyn a ddylai beri i ni oll ochelyd gweithredu dim er dianrhydeddu Duw, yr hwn (am y cyfryw droseddiadau) a ddichon ein cospi yn y byd hwn â chlefydon corphorol arnom ni a'n teuluoedd, colledion am ein heiddo, neu ryw wrthwyneb arall, pan, o herwydd ein hedifeirwch, y dichon ein harbed ni yn y byd nesaf. Nid yw edifeirwch yn gymmaint cadwraeth i ni o ran cosp bresennol, ac ydyw diniweidrwydd. Canys y cyfryw feiau sy

bob

bob amser yn ein gosod oflaen cystuddiau presennol; ac weithiau a wnant fod yn angenrhaid ein dwys geryddu yn y byd hwn. Y cyfryw beth o'i ystyried a ddylai attal pawb oll a'r a fyddont yn meddwl am ddaioni iddynt eu hunain a'u perthynas yn y byd hwn, na byddent yn euog o honynt.

*Gof.* Pa bryd y bydd i'r ceryddon hyn gael eu rhyddhau? a pha bryd y mae *amser pardynu?*

*At.* Y cyhoeddiad pennodol am dano, a grybwyllir yr amser hwnnw i fod *ddydd y farn.* Ond y mae Duw yn pardynu pechodau rhai yn y byd hwn, gan roddi, yn gyntaf faddeuant gyffredinol yn y *bedydd*, ac am bob gwendid damweiniol ar ol hynny, yn ol y bo iddynt edifarhau o'u plegid. Felly, ar edifeirwch *Dafydd yn achos Uriah*, *Nathan* a ddywedodd wrtho ef, *i Dduw* 2 Sam.
*roddi ymaith ei bechodau ef.* 12. 13.

*Gof.* A ydyw'r maddeuant yn y byd hwn mor hollawl, a phan unwaith y dileuir pechodau, ni chyfrifir mo honynt mwyach?

*At.* Nag ydyw, eithr dan ammod, wrth fel y bo *parhaad dynion mewn edifeirwch.* Canys (ar ol cael pardwn) os dychwelant at yr hen ddrygioni, eu pardwn a droir ymaith, a hwy a gant atteb am eu holl droseddiadau gynt. *Os y cyfiawn a* Ezec. 18.
*ddychwel oddiwrth ei gyfiawnder at anwiredd*, medd 24.
Duw wrth *Ezeciel*, *ni chofir yr holl gyfiawnderau a* Pen. 33.
*wnaeth efe*; *ac yn ei bechod a bechodd, ynddynt y* 12, 13.
*bydd efe marw.* A'r *dyledwr* i'r hwn y *maddeuasai* Mat. 18.
*ei arglwydd iddo'r dyledion* mawr hynny, pan aeth 24, 27,
efe ei hun yn annheilwng o'r gras hwnnw, drwy 30, 34.
ei annhrugarogrwydd i *ddyledwr bychan o'i gyd* 35.
*weision:* ei arglwydd, wedi digio, a ddiddymmodd y pardwn, gan roddi'r hen gyfrifon yn ei erbyn ef. *Ac felly*, medd Crist, *y gwna fy nhad nefol i chwithau* ar y cyfryw achos.

*Gof.* A ydym ni yn credu *maddeuant* pob rhyw *bechodau?*

*At.* Ydym, oddieithr *y pechod yn erbyn yr Yspryd Glan*; a'r *ymadawiad gwirfodd oddi wrth y ffydd*: am y rhai hyn, nid oes faddeuant.

*Gof.* Ai nid oes bardwn am *gabledd yn erbyn yr Yspryd Glan?* Na chwaith am *ymadawiad gwirfodd oddi wrth Gristianogrwydd?*

*At.* Nag oes: canys os o'n gwirfodd y pechwn,
Heb. 10. 26. gan ymado ar ol *derbyn gwybodaeth o'r gwirionedd, nid oes aberth dros bechod wedi ei adael mwyach*; sef nid dros y cyfryw drofeddiadau yr amcanwyd *aberth Crist.*

*Gof.* A ydyw *pechu o'n gwirfodd* yn *ymadawiad oddi wrth Gristianogrwydd?*

*At.* Ydyw. Canys y mae'r pechaduriad hyn, medd yr apostol, *yn mathru Mab Duw*, sef yn dadlu fod *Crist* etto yn y bedd gan gyfrif fod
Heb. 10. 29. *gwaed y cyfammod yn aflan*, sef nad yw ddim gwell nâ gwaed rhyw ddrwg weithredwr, ac yn dywedyd ei fod ef yn haeddu marwolaeth, ac yn difenwi *Yspryd y gras* (yr hwn sydd yn cadarnhau Cristianogrwydd) gan ymwrthod â'i holl wyrthiau ef, fel ped faent hudoliaeth. Y cyfryw bechaduriaid sy'n *ymwrthod â Christianogrwydd*, ac ydynt yn achwyn ar *Grist*, megis y gwnai'r *Iuddewon* a'r *rhai di-gred*. A *S. Paul* sydd yn
Heb 6. 4—6. crybwyll, pan yw yn dywedyd, *os Cristianogion a syrthiant ymaith, y maent yn ail groeshoelio iddynt eu hunain Fab Duw*, neu yn uno â'i gondemnwyr ef i'w groeshoelio, *mae yn amhossibl eu hadnewyddu drachefn* i edifeirwch.

*Gof.* Mae lle i bechaduriaid eraill, meddwch, obeithio am bardwn?

*At.* Oes trwy *haeddedigaethau Crist, a thrugaredd Dduw.* Felly y mae *Crist* yn gorchymyn
Luc 24. 47. i'w *apostolion bregethu edifeirwch a maddeuant pechodau*

*pechodau i bob cenedl. O pecha neb y mae i ni eiriolwr* 1 Io. 2.
*gyd â'r Tad, ac efe yw yr iawn tros ein pechodau.* 1, 2.
*A phob pechod a chabledd a faddeuir i ddynion, onid* Mat. 12.
*y cyfryw yn erbyn yr Yspryd Glan.* 31.

*Gof.* Nid rhaid i neb ryw bechadur ynte anobeithio, neu dybio fod ei bechodau yn fwy nag y dichon haeddedigaethau *Crist*, neu ras Duw eu maddeu?

*At.* Na raid. Canys *Crist* trwy ei werthfawr farwolaeth a ynnillodd bardwn am y pechodau mwyaf; ac y mae efe yn anfon ei *apostolion* i
gyhoeddi hynny i'r pechaduriaid pennaf. *Dafydd* 2 Sam.
oedd yn euog o *odineb* a *llofruddiaeth*. *Paul* oedd 12. 13.
*erlidiwr creulon*, ac yn *gablwr*. *Pedr* drwy anud- 1 Tim. 1.
oniaeth a *wadodd ei feistr*. Etto y rhai hyn oll a 13, 16.
gawsant faddeuant: gan hynny nid oes achos i Mat. 26.
neb anobeithio, canys os edifarhant, nid yw ei 70.
drugareddau ef ddim llai iddynt hwythau.

*Gof.* Y rhai hyn ydynt siamplau o'r pechodau mwyaf: eithr a fydd maddeuant am danynt, pan wnelir hwynt o eithaf bryd ac amcan?

*At.* Bydd. Canys llofruddiaeth *Dafydd* gynt, 2 Sam.
oedd o lawn *fwriad* ac *amcan*; ac yn erbyn y 11.
cyfryw ymdrech meddwl ac a wnaeth iddo,
mewn rhyw fesur, *ymroi* yn erbyn *cydwybod*. A Sal. 51.
*Phedr* yn gwadu *deirgwaith* ol yn ol, er bod iddo 10, 11.
ddigon o amser rhwng pob gwadiad, i'w ddwyn Luc 22.
ei hun ar gof, *a ddechreuodd regu a thyngu*. Y 56, 58,
rhai hyn oll a gawsant faddeuant ar eu gwir edi- 59.
feirwch. Marc 14. 71.

*Gof.* Gan mai am *wir edifeirwch* y mae maddeuant, a ydyw yr holl drugareddau hyn yn sefyll ar ryw *ammodau*?

*At.* Ydynt. O herwydd doniau Duw a'i ras, sydd yn ol *aberth Crist*: rhaid iddynt wrth hynny fod yn ol *ffydd ac edifeirwch*. Gan hynny ni roddir mor gras hwnnw i'r di-gred na'r an edifeiriol.

Gof.

*Gof.* Ar ba ryw ammodau y mae i ni ddisgwyl maddeuant am ein *pechodau gwirfodd?*

*At.* Pan edifarhaom am danynt, ac y maddeuom i eraill eu trofeddiadau yn ein herbyn ninnau.

*Gof.* Ai ni faddeua efe nes i ni edifarhau a gwellhau?

*At.* Na faddeu: canys i'r holl bechaduriaid gwirfodd yr oedd yr *apostolion i bregethu edifeirwch, a maddeuant pechodau*: ac am hynny y dy-
Diar. 28. wedir, *yr hwn a gyfaddefo ei bechodau, ac a'u*
13. *gadawo, a gaiff drugaredd.*

*Gof.* Eithr pan edifarhaom, ac ymado â'r pechodau hynny, ai nis maddeu efe i ni, *oni faddeuwn ninnau i eraill?*

*At.* Na faddeu; nid oes faddeuant i'r anedifeiriol na'r anfaddeugar: *Oblegyd os maddeuwch*
Mat. 6. 14, 15. *i ddynion eu camweddau, eich Tad nefol a fadden hefyd i chwithau, eithr oni faddeuwch i ddynion eu camweddau, ni faddeu eich Tad eich camweddau chwithau.* Gan hynny, pan weddiom am faddeuant, ein Harglwydd a rydd faddeuant, eithr
Mat. 6. dan yr ammodau hyn. *Maddeu i ni ein dyledion,*
12. *fel y maddeuwn ni i'n dyledwyr.*

*Gof.* Os gwnaethom ni gam â neb, ai nid yw ddigon tu ag at faddeuant, na wnelom mor cyfryw beth mwy?

*At.* Nag ydyw: o ran, heblaw hynny, rhaid i ni *wneuthur iawn a diwygiad* am y cam a
Mat. 5. wnaethom. *Os dygi dy rodd i'r allor, ac yno dyfod*
23, 24. *i'th gof fod gan dy frawd ddim yn dy erbyn; gad yno dy rodd gerbron yr allor, a dos ymaith: yn gyntaf cymmoder di â'th frawd, ac yno tyred ac offrwm dy rodd.*

*Gof.* Myfi a welaf fod i ni obaith maddeuant am bechodau *gwirfodd*; a hefyd am bechodau mewn *gwylltineb* (y rhai, meddwch, sydd o'r un euogrwydd â hwynt) drwy wir edifeirwch a gwellhaad

gwellhaad yn unig. Ond dan ba ryw ammodau y maddeuir ein pechodau damweiniol o *anwybodaeth byrbwyllaidd*, o herwydd nas gellir eu gwellhau hwynt yn berffaith, eithr y maent yn glynu wrthym, fwy neu lai, tra byddom yn y byd?

*At*. Trwy ein *rhagorol gariad* tuag at eraill, ond yn hyttrach tuag at eu *beneidiau* hwynt. *S. Pedr* sydd yn gorchymyn (ym mysg pethau eraill) iddynt, *uwch law pob peth, bydded genych gariad* 1 Pedr 4.
*helaeth tuag at eich gilydd, canys cariad a guddia* 8.
*liaws o bechodau*. Ac *os aeth neb o honoch ar* Iago 5.
*gyfeiliorn oddi wrth y gwirionedd, a throi o ryw un* 19, 20.
*ef, gwybydded y bydd i'r hwn a drodd bechadur oddi wrth gyfeiliorni o'i ffordd, gadw enaid rhag angau, a chuddio lliaws o bechodau*.

*Gof*. Er mwyn pwy y mae Duw yn rhoddi i ni'r maddeuant hwn?

*At*. Er mwyn *Crist Iesu*, yr hwn a fu farw tros ein pechodau; ac a roddes ei *waed* yn bridwerth i brynu i ni y pardwn hwn. *Yr hwn a osododd* Rhuf. 3.
*Duw yn iawn a maddeuant y pechodau a wnaethid* 25.
*o'r blaen, trwy ffydd yn ei waed ef*. Ac yna, er ei fwyn ef, nyni a dderbyniwn y trugareddau hyn, pan (trwy'r ymddygiad a grybwyllwyd) y bo i ni weddio ar Dduw, yn ei enw ef, am danynt.

*Gof*. Mysi a welaf fod maddeuant wedi ei siccrhau drwy addewidion yr *efengyl* i'r holl Gristianogion, dan ammodau. Eithr a ganiattair y cyfryw iddynt mewn *arwyddion* a *bynodrwydd* oddi allan?

*At*. Gwnair: sef yn y *sacrament sanctaidd*, ac *yngollyngdod yr offeiriad*. A'r modd i'r maddeuant hwn sydd yn fwy neillduol, yr hyn a arferir mewn bedydd yng *Nghredo S. Cyprian*, sef * *Credaf fod maddeuant pechodau* † *drwy'r Eglwys*.

B b Gof.

* Ep. ad Januar. &c. Ep. ad magnum. Ep. 69, 70. Ed Oxon. † Neu drwy wasanaeth yr eglwys yn golchi ymaith bechodau yn y bedydd.

*Gof*. A roddir y maddeuant hwn yn sacrament y *bedydd* hefyd?

*At*. Rhoddir yn gyflawn. Y *dwfr* yn y bedydd sy'n golchi ymaith frychni y pechodau o'r blaen: *bedyddier di, a golch ymaith dy bechodau*,
Act. 22. 16. ebr *Ananias* wrth *Saul*. *Edifarhewch, a bedyddier*
Act. 2. 38. *chwi er maddeuant pechodau*, ebr *S. Pedr* wrth yr
*Iuddewon*. *Ac efe a'n hachubodd ni trwy olchiad*
Tit. 3. 5. *yr adenedigaeth*, sef trwy'r dwfr yn y bedydd, ac *adnewyddiad yr Yspryd Glan*. Megis pa ryw aflendid bynnag oedd ar ddynion o'r blaen, os deuant hwy i'w bedyddio drwy wir ffydd ac edifeirwch, hwy a wnair wrth hynny yn lan drachefn.

*Gof*. A roddir hynny yn *sacrament swpper yr Arglwydd* hefyd?

*At*. Rhoddir. Canys, os ar ol y golchiad yn y *bedydd* y llithrant o newydd, yna derbynir hwynt i adnewyddiad y cyfammod hwnnw o ras drachefn, lle y cant selio eu pardwn. Canys yno
Mat. 26. 28. mae *Crist* yn rhoddi i ni ei *waed ei hun, yr hwn*, medd ef, *a dywalltwyd er maddeuant pechodau*. Efe a'n croesawa ni yno wrth ei fwrdd ei hun, lle y mae ef yn gwahodd pob un teilwng, gan eu derbyn megis cyfeillion. Pan ddigwyddo i Gristion bedyddiol gael ei ddychrynu gan ei gydwybod, cyfeiried at y sacrament sanctaidd er mwyn selio a siccrhau'r maddeuant am bechodau. Eithr deued drwy ffydd edifeiriol, a chymmod ei g[illegible]ynydogion, yr hyn yw'r ammodau, tan ba rai y mae maddeuant. Canys ni thyccia'r *sacramentau sanctaidd* i neb ond a'u derbyniant yn deilwng, a'r rheini sydd i'w glanhau oddi wrth bob ammhuredd o'r blaen.

*Gof*. A roddir pardwn hefyd, drwy *ollyngdod yr offeiriad*?

*At*. Rhoddir. Canys i hynny y rhoddes *Crist* awdurdod i'w *weinidogion*, y rhai sy'n gwasanaethu

aethu yn ei le, i draethu maddeuant i bob dyn edifeiriol, gan erchi iddynt gredu fod cyhoeddiad
gyfreithlon yn cael ei chyflawni yn y nef. *Efe* Io. 20.
*a anadlodd arnynt, ac a ddywedodd wrthynt, der-* 22, 23.
*bynniwch yr Yspryd Glan. Pwy bynnag y maddeuoch iddynt eu pechodau, maddeuir iddynt; a'r eiddo pwy bynnag a attalioch hwy a attaliwyd.* Gan hynny, pan wrandawo'r gwir *edifeiriol* gyhoeddiad y maddeuant hwn gan y *gweinidog* y rhoddes Duw awdurdod iddo, efe a eill fod yn esmwyth ei galon, megis un wedi cael ei farn, gan obeithio y bydd i Dduw adrodd yr un faddeuant ar y farn ddiweddaf. Canys nid oedd hyn amgen nâ
*gweinidogaeth y cymmod a roddodd Duw i ni*, medd 2 Cor. 5.
*S. Paul.* Eithr gorchymyn a chadarnhaad y peth, 18.
a gadwodd yn ei law ei hun, gan siccrhau yr hyn a adroddir gan y *gweinidog* yn ol yr ammodau. Gan hynny, os digwydd i'r *offeiriad* adrodd y gollyngdod (o herwydd nas gwyr y naill ddyn feddwl y llall) i'r anedifeiriol, Duw a rydd farn gyfiawn yn y diwedd, ac a gondemnia yr hwn a ryddhawyd drwy gam ddirnad.

*Gof.* Fe a ddywedodd *Crist*, na *yr hyn a attelir ar y ddaear, a attelir yn y nef, a'r hyn a ryddhair ar y ddaear, a ryddhair hefyd yn y nef.* Ai ni ddylai hyn beri arswyd *ysgymmundod* mewn pob Cristion, a pharch i *gerydd yr eglwys?*

*At.* Dylai'n ddiammeu, pan fo achos i'n ceryddu: Canys yna y mae Crist yn amddiffyn anrhydedd ei weinidogion, gan siccrhau eu barn.
*Y neb sydd yn eich gwrando chwi, sydd yn fy* Luc 10.
*ngwrando i, a'r neb sydd yn eich dirmygu chwi,* 16.
*sydd yn fy nirmygu i.* Ac *os bydd un troseddwr* Mat. 18.
*na wrendy ar yr eglwys, bydded ef i ti megis yr* 17.
*ethnig* * *a'r publican* †. Gweinidogion cyfreithlon



* Pagan, neu anfucheddol.

† Math ar drethwr annheimladwy ym mhlith yr Iuddewon gynt.

*Crist* a wnant y gwasanaeth hwn yn ei le ef ei hun drwy ei awdurdod a'i archiad ef: gan hynny nis gwna efe lai nâ'i siccrhau. Ac yn ol hyn y
1 Cor. 5. 4, 5. 2 Cor. 2. 10. mae *S. Paul* a *phennaethiaid yr eglwys yng Nghorinth* yn arferu eu hawdurdod drwy gennad *Crist* (mewn perthynas i rwymo a dattod) ym *mherson*, neu yn *lle Crist Iesu*.

*Gof.* A ydyw holl geryddon yr eglwys ynte yn torri dyn ymaith oddi wrth *Iesu Grist*, megis oddi wrth yr eglwys, yr hon yw ei *gorph* ef, ac yntef ei hun yn *ben* arni?

*At.* Felly y bydd i'r rhai oll a fernir yn gyfryw bechaduriaid a'u bod yn ddamnedig wrth gyfreithiau *Crist* ei hun. Canys y maent yn eu barnu wrth ymadroddion *Crist* ei hun. Ac, fel y dywed * *Tertullian*, nid ydynt amgen nâ *rhagweithredoedd o flaen y farn ddiweddaf*. A chan nad yw ei *weinidogion* yn adrodd ond ar ei ol ef ei hun, nid oes le i ammeu na bydd iddo ef gadarnhau yr hyn a adroddasant yn ei enw ef.

*Gof.* Eithr wrth yr hyn a ddangosasoch o'r blaen, y mae mewn crefydd rai pethau (gan eu bod yn erbyn prif sylfaen athrawiaeth) yn gynddrwg ynddynt eu hunain, ac nad allant ofyn na ffafr nac arbediad; a bod eraill o ysgafnach trosedd, o ran golwg, yn ddamnedig, o herwydd eu bod yn tarddu oddi wrth ddrwg feddwl yn unig, ac oni bai hynny a allent fod yn bardynol. Ac felly (o ran y pwyntiau diweddaf hyn) y mae llawer o feddyliau difai, ac yn gwasanaethu Duw yn ddifrifol, etto yn cael eu harwain allan o'u ffordd i ryw groes lwybrau ac arferion drwg. Ac os o herwydd hynny, y digwydd iddynt gael eu bwrw allan o'r eglwys: ai tybied fod y cyfryw yn cael eu torri oddi wrth Grist hefyd, ac y bydd raid iddo ef orphen eu hysgymmuno hwynt?

At.

* Apolog. c. 39.

*At.* Na fydd. Canys ni ddichon yr eglwys (mwy nâ dynion eraill) farnu ddim pellach nâ'r golwg oddi allan. Eithr *Crist* yn ei farn ef arnynt, a edrych ar feddwl y galon: gan bwyso'n gyfiawn, nid haeddiant y weithred yn unig, eithr y tueddiad hefyd i wneuthur neu i ymwrthod, yr hyn a wna i'r troseddwr haeddu, un ai maddeuant ai cospedigaeth. A chan fwrw ysgafnhaad i'r cyfrif hwn, yn ol yr achos, gellir yn hawdd feddwl y bydd ail dderbyniad i lawer un a fo wedi ei gam arwain yn y cyfryw fodd gresynol, er ei fwrw ef allan gan geryddon yr eglwys.

*Gof.* Y grymmuster hwn mewn ceryddon eglwysig, meddwch, sydd i fod yn ol *rheolau Crist ei hun*, ac ar *achos cyfiawn.* Eithr, os bydd iddynt rwymo neb yn erbyn rheolau yr *efengyl*, neu yn erbyn rheswm, mae'n debygol nad yw'r ceryddon hynny ond moddion i ddychrynu dynion yn hyttrach; a bod y braw yn fwy nâ'r briw o'u herwydd?

*At.* Felly yn wir, y mae. Canys ein Harglwydd a ddywed, *Gwyn eich byd pan y'ch casao dynion, a phan y'ch didolant oddiwrthynt, ac y'ch gwaradwyddant, ac y bwriant eich enw allan megis drwg, er mwyn Mab y dyn. Oblegyd yr un ffunud y gwnaeth eu tadau hwynt i'r prophwydi. Byddwch lawen y dydd hwnnw, a llemmwch, canys wele eich gwobr sydd fawr yn y nef.* Os digwydd i Gristianogion daionus gael eu hysgymmuno allan o unrhyw eglwys, am naccau proffesu rhyw beth gwrthwynebol i'r ysgrythyrau (megis y mae *eglwys Rufain* yn gwneuthur â'r *protestaniaid* truain) nid ydynt waeth gerbron Duw, yr hwn ni chadarnha gam farn, eithr a wna eu gwobr hwynt yn helaethach, am iddynt ddioddef mor wychion yn ei achos ef. Luc 6. 22, 23.

*Gof.* Yr ydwyf yn canfod wrth hyn, pa fodd y mae Duw yn maddeu pechodau: megis pan wnelir yn ein herbyn ni, ei fod ef yn erchi i ni faddeu, o herwydd ein bod ninnau yn gobeithio cael maddeuant. Pa beth yw arwyddocead hynny?

*At.* Nid ydynt wrth faddeu iddynt, yn cael eu rhyddhau oddi wrth geryddon i ddyfod, y rhai sy'n fefyll ar law Dduw, ac nid ar ein trugareddau ni; ac nid ŷm ni bob amser i ddioddef heb ein hachub ein hunain hyd lle y galiom, pan wnair cam â ni; nac i geisio iawn pan wnelir camwedd i ni. Eithr yn hyttrach, na bo i ni ewyllysio drwg iddynt o'n calonnau; ond os bydd achos i gael iawn, bydded i ni ochelyd ei geisio drwy lidiowgrwydd na chynfigen: nid gan erfyn ar Dduw, na swyddog yn y byd, am ddial, er bodloni meddwl llidiog (megis yr *Iuddewon*) pryd nas gallwn ddim ychwaneg iddynt.

*Gof.* Pa ddefnydd a ddylem ni wneuthur o'r greduniaeth hon, sef *maddeuant pechodau?*

*At.* Mawrygu trugareddau Duw, yr hwn a ddichon faddeu i'r cyfryw drofeddwyr cythruddol; ac am ryfeddol gariad *Iesu Grist*, yr hwn a a fu mor bur i ni a marw er mwyn prynu i ni'r maddeuant hwn, y rhai oeddem elynion iddo. A gweddio na bo i ni wan obeithio am drugaredd Dduw, ond cwbl gredu fod modd i ni gael pardwn er pechu o honom. Eithr uwchlaw pob dim, edifarhawn, gan faddeu i eraill, a chyflawni pob ammodau, trwy y rhai y mae i ni dderbyn maddeuant.

*Gof.* Pan gaffom unwaith faddeuant, nyni a allwn bechu drachefn yn fwy di arfwyd, gan fod Duw mor barod i faddeu?

*At.*

*At.* Nag allwn er dim: *A drigwn ni yn wastad mewn pechod fel yr amlhao gras? Na atto Duw. Wele ti a wnaethpwyd yn iach: na phecha mwyach, rhag digwydd i ti beth a fyddo gwaeth.* Y cyfryw anniolchgarwch a cham arferiad *gras* sydd gythruddiad mawr i'r *Yspryd Glan*, gan ei demtio i gilio oddi wrthym; ac yn galw am ddwysach a siccrach, cospedigaethau; ac yn dwyn yr holl gyfrifon yn ein herbyn: canys ni phardynwyd ni ond tan ammod ein parhaad mewn edifeirwch.

Rhuf. 6, 1, 2.
Io. 5. 14.



# PENNOD VIII.

# ADGYFODIAD y CNAWD, A'R BYWYD TRAGYWYDDOL.

## Y CYNHWYSIAD.

*Yr adgyfodiad, nid yn unig mewn perthynas i'n heneidiau oddiwrth bechod, eithr y cyrph o'r beddau. Dwyn hyn i ben drwy hollalluowgrwydd Duw. Perffeithrwydd cyrph gogoneddus, sef anfarwoldeb, ysprydoliaeth, a gogoniant. Cyrph y rhai drwg yn anfarwol. Ac yn gwbl deimladwy. Rhai ystyriaethau ynghylch adgyfodiad ein cyrph. Dwyn eneidiau da i ddedwyddwch. Ynghylch bywyd tragywyddol, lle y mae dedwyddwch cyflawn, a di-gymysg. Eu bodlondeb teimladwy. Eu gwybodaeth rhagorol. Sancteiddrwydd perffaith. Heb ddim anewyllysgarwch. Dedwyddol gyfeillion. Perffaith gariad ac addfwynder. Anrhydedd ac ardderchowgrwydd y lle. Hyn oll i'w fwynhau yn y nef uchaf, heb ormodedd na blinder: Yn oes oesoedd. Trueni y rhai damnedig, mewn poenau teimladwy. Pry'r gydwybod. Tan a fflammau. Y gwaradwydd. Dim o ffafr Duw. Dim cymdeithas ond cythreuliaid annrhugarog. Ac ysprydion damnedig. Neb i gyssuro, pan nad allont wellhau. Dim gorphwystra na chwsg, i esmwythau'r ysprydoedd. Dim dibendod ar drueni. Yr ystyriaeth ar hyn oll.*

Y Bennod yn canlyn.

*Gofyn.* PA beth yw'r unfed bann ar ddeg o'r *Credo*?

*At.* Credaf yn *adgyfodiad y cnawd.*

*Gof.*

*Gof.* Ai nid ellir tybio mai cyfodiad yſprydol oddi wrth bechod yw'r adgyfodiad hwn?

*At.* Felly yr oedd rhai yn meddwl yn yr hen amſer, fel y mae *S. Paul* yn tyſtiolaethu, eu bod hwy yn dywedyd *ddarfod yr adgyfodiad eiſoes:* ſef pan oedd dynion pechadurus yn cyfodi i ofn Duw: gan fod llaweroedd yn credu'r cyfryw bethau, medd efe, *y maent yn dadymchwelyd ffydd* 2Tim. 2.
*rhai.* Eithr yr adgyfodiad yr ŷm ni yn ei 18.
ddiſgwyl, yw *adgyfodiad y cnawd.* Ein cyrph, y rhai a oſodir i lawr yn farwol, a gyfodir drachefn ddydd y farn: *Yna yr holl rai a'r ſydd* Io. 5. 28.
*yn y beddau a glywant ei leferydd ef, a hwy a* 29.
*ddeuant allan: y rhai a wnaethant dda i adgyfodiad bywyd, ond y rhai a wnaethant ddrwg i adgyfodiad barn. Rhaid i'r corph hwn wiſgo anllygredigaeth,* 1 Cor. 15.
*ac i'r marwol hwn wiſgo anfarwoldeb.* A chan 53, 54.
fwynhau eilwaith yr hyn oll a ddinyſtriwyd trwy farwolaeth, *angau a lyngcir mewn buddugoliaeth.*

*Gof.* Adgyfodiad corph wedi myned yn friwſion a braenu mewn pridd, a dybiwyd yn beth ammhoſibl, pan bregethwyd yn ei gylch ar y cyntaf. Canys *rhai o'r philoſophyddion pan glywſant ſon am* Act. 17.
*adgyfodiad y meirw, a watworaſant.* Pa fodd gan 32.
hynny, yr amlygir hyn fel y gellir ei gredu?

*At.* Nid rhaid amgen nâ meddwl am hollalluowgrwydd Duw. Canys ni ddichon neb gredu fod yn ammhoſibl i Dduw gyfodi corph allan o bridd, canys efe a'i gwnaeth ef o bridd ar y cyntaf: ie, ac a gyfododd bob peth o ddiddym ddefnydd. *Yr ydych yn cyfeiliorni,* medd Mat. 22.
ein Harglwydd wrth y *Saduceaid,* ynghylch yr ad- 29.
gyfodiad, *gan nas gwyddoch yr yſgrythyrau, na gallu Duw.* Ac efe a amlygodd y gallu hwn, gan gyfodi *Criſt. Os pregethir Criſt, ei gyfodi efe o'r* 1Cor. 15.
*feirw; pa fodd y dywed rhai yn eich plith chwi,* 12.
*nad oes adgyfodiad y meirw?* Hynny yw, gan fod

fod ei adgyfodiad ef ei hun yn arwydd mor ddiddadl ?

*Gof.* A gyfodir *cyrph y saint* drwy nerth yr *Yspryd Glan* ?

*At.* Gwnair: yr hwn yr awr hon sydd yn eu gwneuthur hwynt yn *demlau* iddo ei hun, gan ddangos iddynt ei *sancteiddrwydd*, a ddengys iddynt ei *hollalluowgrwydd* hefyd, gan anadlu yn eu pridd gwasgaredig anadl einioes, megis yr anadlodd ar y cyntaf fywyd i bob creadur. *Os*
Rhuf. 8. *yspryd yr hwn a gyfododd yr Iesu o feirw sydd yn*
11. *triga ynoch, efe hefyd a fywiocca eich cyrph marwol chwi:* megis y gwnaeth iddo ef.

*Gof.* Nid oes ammeu nad gogoneddus a fydd *adgyfodiad y saint:* ond pa ryw berffeithrwydd a fydd i'w *cyrph* hwynt yn yr *adgyfodiad* ?

*At. Anfarwoldeb* yn un peth. Canys nid oes dim ar ol hynny a ddichon eu poeni na'u llygru, na'u briwo hwynt; ni bydd raid iddynt na
1 Cor. 15. dioddef na marw mwy. *Rhaid i'r llygradwy hwn,*
53. *wisgo anllygredigaeth, ac i'r marwol hwn wisgo*
Luc 20. *anfarwoldeb. Canys nis gallant farw mwy.*
36. Ac yn ail, *efe a heuir yn gorph anianol, ac a*
1 Cor. 15. *gyfodir yn gorph ysprydol.* Wrth yr hyn, nis cryb-
44. wyllir y bydd efe yn *yspryd mewn sylwedd*, ond yn mwynhau *perffeithrwydd ysprydol*, drwy yr hyn y mae efe yn goruwch ragori ar bob rhyw gyrph. Megis yn *gyntaf*, gan fod uwchlaw pob *anwydau corphorol:* megis y pleserau o fwytta ac yfed, a
Mat. 22. gwyniau cnawdol. *Yn yr adgyfodiad, nid ydynt*
30. *nac yn gwreicca, nac yn gwra, eithr y maent fel*
1 Cor. 6. *angylion Duw. Y bwydydd i'r bol, a'r bol i'r*
13. *bwydydd, eithr Duw a ddinystria hwn a hwythau,* fel yn yr adgyfodiad, lle y bydd i ddynion fyw hebddynt. 2. *Bywiowgrwydd* a *chyflymrwydd* i atteb i lawenydd a chynnyrfiadau yr *enaid*; a bod o honynt yn abl i gynnal y cyfryw annhraethawl

lawenydd

lawenydd ac anwylder mewn bywyd anfarwol. Ac yn drydydd, bod yn *chwimmwth* ac yn *ysgafn-fynediad*, fel y gallo ehedeg i bob pwynt o'r *awyr o'r cymmylau*, modd y dywed *S. Paul* am y *Saint* yn eu cyrph newyddion; a bywiowgrwydd ysprydol i esgyn a disgyn, ac ymsymmud i le anghysbell, gan fod yn barod mewn moment i ymddangos neu i gilio fel y bo ewyllys yn enaid, megis y gwnai *gorph ein Harglwydd* ar ol ei *adgyfodiad*; a rhaid i ni fod yn un ffurf â'i *gorph gogoneddus ef*, ac o ran hynny, fel yr *angylion*. 1 Thes. 4. 17. Luc 20. 36. Phil. 3. 21.

*Gof*. A dderbyniant hwy ddim ychwaneg o berffeithrwydd?

*At*. Yn drydydd, hwy a dderbyniant berffeithrwydd tegwch pryd, (yn lle pa wrthuni bynnag) a *disgleirdeb* rhagorol, neu ogoniant. *Efe a heuir mewn ammharch, ac a gyfodir mewn gogoniant. Yna y llewyrcha y rhai cyfiawn fel yr haul yn nheyrnas eu Tad. Crist a gyfnewidia ein corph gwael ni, fel y gwneler ef yn un ffurf â'i gorph gogoneddus ef*, yr hwn oedd loyw-ddisglair. Eithr tra bu efe yn ymddiddan â'i *ddisgyblion* yma ar y ddaear, ar ol ei adgyfodiad, ef a roddes ei ddisgleirdeb heibio, o herwydd nad allai lygad cnawdol edrych arno, megis nad allai *Saul* pan aeth efe yn *ddall*. Canys yn y *nef* yr ymddengys efe mewn goleuni disglair, megis i *Stephan*; ac i *Paul*, yr hwn sydd yn datgan llewych ei bresennoldeb ef i fod *yn fwy nâ disgleirdeb yr haul. A'i ben a'i wallt yn wynion fel gwlan, cyn wynned a'r eira: a'i lygaid fel fflam dân, a'i draed yn debyg i bres coeth, megis yn llosgi mewn ffwrn, a'i wyneb-pryd fel yr haul yn disgleirio yn ei nerth*. Hon oedd y weledigaeth a gafodd *S. Ioan* arno. 1 Cor. 15. 43. Mat. 13. 43. Phil. 3. 21. Act. 9. 3, 9. Act. 7. 55. Act. 26. 13. Dat. 1. 13—16.

*Gof*. Adgyfodiad gysurus a fydd hon i'r *cyfiawn*: eithr pa fath a fydd adgyfodiad yr *anghyfiawn*? A fyddant hwythau yn anfarwol?

*At*.

*At.* Byddant, yſywaeth iddynt hwy! A hynny o wir bwrpas i gael o honynt goſpedigaeth anfarwol. Canys, er iddynt waſtadol ferwi yn y tân, nis derfydd bywiowgrwydd y cyrph fyth yn dragywydd.

*Gof.* A fydd eu cyrph (pan gyfodant) mewn teimlad fel y bo iddynt ddioddef?

*At.* Byddant yn fwy teimladwy nag y maent yr awr hon; a hwy bob amſer a gant y poenau llymmaf, a'r creulonder mwyaf a'r a ddichon nattur ei roddi: hynny yw, tân tragywyddol.
Mat. 25. 41. *Ewch oddiwrthyf rai melltigedig i'r tân tragywyddol.*
Luc 16. 23, 24. *Yna y poenir hwynt yn y fflam*, ac ni chant cymmaint a *defnyn o ddwfr i peri'r tafod* ſychedig.

*Gof.* Os bydd y poenau mor greulon a hyn, hwy a ddarfyddant yn y man, neu a wnair yn annheimladwy ganddynt?

*At.* Fel y bo i'r poenau ymnerthu, y cyrph a fyddant fywioccach o ran parhaad a theimlad: oblegid holl allu dialedd fydd yn ergydio poenau parhaus arnynt. Felly y bydd holl allu nerth yn parhau, a phob teimlad arſwydus yn annherfynol ddirboeni.

*Gof.* Ai nid yw'r gred hon am *adgyfodiad y cnawd*, yn gyſur i ni ar *farwolaeth ein cyfeillion*, pan fyddom yn eu goſod hwynt yn eu beddau?

*At.* Ydyw. Canys nis darfu am eu cyrph hwynt, eithr huno y maent, ac a gant eu gwneuthur yn fwy perffaith a gogoneddus mewn
1 Theſ. 4. 13, 14. cyflawn nerth pan deffroir hwynt. *Ond ni ewyllyſiwn frodyr, i chwi ſod heb wybod am y rhai a hunaſant, na thriſtaoch megis eraill, y rhai nid oes ganddynt obaith: canys os ydym yn credu farw Ieſu a'i adgyfodi; felly y rhai a hunaſant yn yr Ieſu, a ddwg Duw hefyd gyd ag ef.*

*Gof.* Ai nid all hyn beri i ni, nad ofnom ein marwolaeth ein hunain?

*At.*

*At.* Gall, o herwydd *pan ddattodir ein daearol dŷ o'r babell hon, mae i ni adeilad gan Dduw, tragywyddol yn y nefoedd: am hynny yr ydym yn ochneidio, gan ddeisyfu cael ein harwisgo â'n tŷ sydd o'r nef.* 2 Cor. 5. 1, 2.

*Gof.* Pa beth yw'r deuddegfed bann o'r *Credo?*

*At.* Credaf fod *bywyd tragywyddol.*

*Gof.* I ba le yr â'r eneidiau cyfiawn, pan ymadawont â'u cyrph?

*At.* I orphwys mewn dedwyddwch, sef i'r lle y mae *Crist* yn ei addaw i'r *lleidr edifeiniol,* gan ei alw yn *baradwys:* ac yn nammeg *Difes a Lazarus,* yn *fynwes Abraham.* A'r gofal am eu trosglwyddo hwynt yno (fel y crybwyll *Crist*) a roddir ar yr *angylion* daionus. Canys rhai o honynt hwy (fel y maent yn ysprydion gwasanaethgar) sy bob amser yn gweini wrth glaf-welyau'r *saint,* ac yn derbyn yr eneidiau i'w gofalon, gan eu cadw hwynt rhag pob dychryndod ac aflonyddwch ysprydion maleisus, gan dreiddio trwy'r *ardaloedd wybrennol,* lle y mae *brenhiniaeth* neu gyffiniau *gallu'r tywyllwch;* a'u harwain ar hyd y llwybr maith a dieithrol hwnnw sydd yn diweddu yn ymddiffynfa'r eneidiau bendigedig. Eithr eneidiau'r drwg-ddynion sy'n cael eu gadaw ar ol, yn noethion heb ymddiffyn, i'w cymmeryd gan ysprydion rheibus a chreulonaidd: ac a hyrddir ymaith wrth orchymyn y *barnwr* cyfiawn, mewn cyfyngder mawr ac anobaith, i'w carchar truenus. Luc 23. 43. Luc 16. 22. Eph. 2. 2.

*Gof.* Eithr yn yr adgyfodiad, myfi a welaf fod y daionus a'r drygionus yn dychwelyd bob un i'w gorph drachefn. A barhant hwy felly yn dragywydd?

*At.* Pan gynted ac yr ail uner enaid a chorph, nis gwahanir mwy: eithr y rhai drwg a barhant i fyw mewn adfyd, yn gystal a'r rhai da mewn gwynfyd.

*Gof.*

*Gof.* Pa ddedwyddwch fydd ym mywyd tragywyddol y rhai cyfiawn?

*At.* Pob happusrwydd a'r a ddichon calon dyn ddymuno, neu a allo ei nattur ef ddirnad. Hwy a gant weled a mwynhau Duw: yr hwn a'i rhydd ei hun iddynt: yn yr hwn y mae pob peth a'r sydd brydferth; yr holl fendithion a'r a allo ddyn ddychymmygu, a llawer mwy: y rhai sy'n aros yn Nuw, ac mewn annherfynol gymmundeb ag ef.

*Gof.* A fydd i'r dedwyddwch nefol hwn beri rhwystr yn y byd i'n bywiolaeth bresennol, o waith gofalon, arswyd, cystudd, neu gasineb i ni, i'r hyn y mae dedwyddwch y byd hwn yn ddarostyngedig?

Dat. 7. *At.* Na fydd. Canys *ni fydd arnynt na newyn*
16. *mwyach, na syched mwyach.* Ac *fe sych Duw ymaith*
Dat. 21. *bob deigr oddiwrth eu llygaid hwynt; a marwolaeth*
4. *ni bydd mwyach: na thristwch na llefain, na phoen*
*ni bydd mwyach, oblegid y pethau cyntaf oll a aethant*
*heibio.*

*Gof.* A borthir eu *synhwyrau* a'r pethau mwyaf hoff ganddynt?

*At.* Gwnair. Canys y mae'r *ysgrythyrau* yn gosod allan y croesaw nefol ar ddull *gwleddau* a *thyd fwytta ac yfed*, a *gwahoddiad i briodasau*; *tonniadau cynghaneddawl*, a *baleliaint*; a thrwy y fragorol olwg ar ogoneddus brydferthwch y *llys nefolaidd*; mawrhydi *gorseddfaingc* Duw, a disglair bresennoldeb y *llu nefol* o'i amgylch. Eithr, yn wir, y mae'r gogoneddus berleiddfias puredig hwnnw uwchlaw'r blysig archwaeth o fwytta ac yfed, a serchowgrwydd cnawdol. Er hynny mae'r *ysgrythyr* yn crybwyll am y cyfryw bleserau oblegid fod ein cyflwr presennol mewn cymmaint perthynas iddynt. A pha ryw bleserau bynnag, a bodlondeb a'r a fedrom ni feddwl na dirnad am dano yn y byd hwn, hynny a llawer

mwy

mwy a ganiattair i'n cyrph ar ol ein gogoneddus adgyfodiad.

*Gof.* Y mae yn ddedwyddwch mawr i ni fod gennym y cyfryw *wybodaeth eglur* yn y bywyd hwn, ac nad rhaid i ni mor cam gymmeryd na rhwyſtro mewn anhawſter: A fydd y cyfryw *lan ddealltwriaeth* yn y byd neſaf?

*At.* Bydd: y cyfiawn a ryddhair oddi wrth bob anwybodaeth ac ammheuaeth, ac efe a gaiff wybod pob peth a'r a ddymuno, heb achos myfyrio. *Gweled yr ydym yr awr hon trwy ddrych, mewn dammeg; ond yna wyneb yn wyneb: yn awr yr adwaenoſ o ran; ond yna yr adnabyddwn megis y'n hadwaenir.* 1 Cor. 13. 12.

*Gof.* Un pwngc rhagorol o wynfyd yw bod yn *berffaith ſancteiddiol*, yr hyn ſydd un o briodoliaethau mwyaf gwynfydedig Duw ei hun. A fydd i'r rhai cyfiawn fod mor gwbl ſanctaidd a hynny?

*At.* Hwy a gant ragori mewn pob rhinweddau a gras, fel y mae *Criſt* ei hun: Canys *pan ymddangoſo efe, nyni a fyddwn debyg iddo:* A hwy a fwynhant hynny oll heb na gwendid na diffyg i beri llygredigaeth i'w rhinweddau. *Oblegid yſprydoedd y rhai cyfiawn a berffeithir yng Nghaerſalem newydd.* 1 Io. 3. 2. Heb. 12. 23.

*Gof.* A gant hwy arferu yr holl ſancteiddrwydd hyn heb na *rhwyſtrau* na *gwrthwynebrwydd*, yr hyn ſy'n gwneuthur pob arferiad ſanctaidd yn boenus yn y byd hwn?

*At.* Cant; canys ni bydd ynddynt ddim anwydau i'w gwrthwynebu, na phrofedigaethau i'w denu oddi wrthynt. Ni chlywant gyngor, ac ni welant ſiampl ond a fo daionus. Eu tueddiadau oll a uniawnir ac a wnair yn ſanctaidd i'r Arglwydd. Eu hamcanion a fyddant berffaith mewn daioni; a'u dyledſwyddau yn gymmeradwy,

adwy, fel gan ymroddi yn gyfan i foddio Duw, y maent ar yr un amser yn eu boddio eu hunain.

*Gof.* Ar ol y ddyrchafiad hon o wybodaeth a sanctéiddrwydd, a gant hwy *fodlondeb meddwl oddi-fewn:* gan eu tybio eu hunain yn happus, heb yr hyn nid dedwydd neb?

*At.* Cant: oblegid nid allant lai na bod yn gwbl wrth eu bodd eu hunain ym mhob dim a'r sydd ganddynt, ac ym mhob dim a'r a wnelont: canys ni ddigwydd iddynt ddim amgen nâ dedwyddwch di gymmysg; a pha beth bynnag a'r sydd yn deilliaw oddi wrthynt, nid yw lai nâ doethineb a daioni, llawenydd a thangnefedd.

Mat. 25. 21. *Dos i fewn i lawenydd dy Arglwydd.* Nid gan erchi i'r llawenydd hwn fyned iddynt hwy (o herwydd nas gallant ei amgyffred) eithr hwynt hwy i lawenydd megis môr o hyfrydwch, o'r hwn y gallant yfed heb fod o hono ddim llai.

*Gof.* Nid eill y cyfryw wybodaeth a pherffeithrwydd sanctaidd lai nâ pheri iddynt y bodlondeb mwyaf ynddynt eu hunain. Eithr pa fath gymdeithas a fydd ganddynt? a fyddant hwy mor gwbl ddedwydd yn hynny hefyd?

*At.* Eu dedwyddwch o herwydd hynny, a fydd annhraethadwy. Canys hwy bob amser a fyddant yn aros ym mhresennoldeb Duw, yr hwn o'i hynawsedd a fydd mewn cymmundeb â hwynt; ac ym mhresennoldeb *Iesu Grist,* yr hwn a lawenycha yn ddirfawr am iddo eu gwneuthur hwynt mor ddedwyddol; ac ym mhresennoldeb yr *Yspryd Glân,* yr hwn a'u croesawa hwynt yn dragywydd â'r gwobrwyau y rhai a haeddodd ei ras ef iddynt. A hwy a gant gyd ymddiddan ag *angylion, apostolion* a *saint gogoneddus;* ac â'u holl dduwiol gyfeillion a chyfathrach y rhai a garent fel eu heneidiau eu hunain, a chyd â'r rhai y medrasent fyned allan o'r bywyd hwn, o ran anwylder.

*Gof.*

*Gof.* A'r holl gymmanfa dduwiol hon fydd wedi ei chymmwyso ym mhob modd i fod yn gymmeradwy iddynt?

*At.* Ie, i fod uwchlaw pob happusrwydd. Canys hwy oll a fyddant ddi-boen a buan yn eu dealltwriaeth, a chariadus ac addfwynaidd yn eu calonnau; a thra gostyngedig mewn ymddygiad, yn lanwaith bur oddi wrth ddigofaint, casineb, diystyrwch, a dirmyg; a phob peth arall a baro ddigllonrwydd. Maent oll yn edrych yn fodlongar a chroesawus; pob un yn gyflymddoeth, cymmwynasgar a chariadus mewn ymddiddanion, a phawb o'r un feddwl, gan adrodd yr un pethau, a bwriadu yr un amcanion, yr un golygiad yn boddio pawb, heb ddim ymryson yn eu mysg, ond am y mwyaf ei gariad a'i ostyngeiddrwydd, ac am y cyffelyppaf i Dduw, a mwyaf cariadus y naill i'r llall yn dragywydd.

*Gof.* Chwi a ddywedasoch na fydd dim ymryson yn eu mysg ond am y mwyaf ei gariad. Y modd cariadus hwn (heb achos i'w oeri drwy anghymmwynasgarwch, nac i'w groesi drwy siommedigaethau, nac i'w wneuthur yn anffortunus drwy ffolineb; a bod ein cyfeillion hefyd megis y dymunem) fydd gyflwr mwyaf bodlongar a dymunol o bob math. Eithr ym mysg yr holl ddoniau hyn, a fydd i'r cyfiawn fod yn berffaith yn y *cariad* hwn?

*At.* Bydd, yn dra pherffaith. * Canys *Duw, cariad yw: a'r hwn sydd yn aros yn Nuw, sydd yn aros mewn cariad.* 1 Io. 4. 8, 16.

*Gof.* A fydd i'r holl gymdeithas hon ein caru ni?

*At.* Bydd, fel eu heneidiau eu hunain; yr oeddynt hwy yn llawn cariad pan oeddynt yn byw yma, gan garu yn oed eu gelynion, yn ol cyngor a siampl *Crist:* ond yn enwedig, hwy a garent

C c weinidogion

weinidogion Duw, ym mha rai yr oeddynt yn gweled ei ddelw ef. Eithr yn y nef, hwy a'u carant yn fwy perffaith; ac a fyddant mor gyflawn i'n caru ni ac ydynt mewn pob grasau eraill.

*Gof.* A fydd i ni eu caru hwy mor ffyddlawn?

*At.* Bydd: hwy a fyddant mor anwyl a chariadus tuag attom ni, ac y bydd i'n nattur ninnau ymgynnesu cymmaint mewn cariad ac addfwynder, nas medrwn lai na'u caru hwynt yn y modd gwresoccaf a ffyddlonaf. A hyn fydd yn bleserus ac nid yn flin genym, canys nid allant wneuthur dim i'n gwaradwyddo nac i'n digio. Duw fydd oll yn oll ynddynt hwy, gan hynny nis gallant hwy wneuthur dim na bo i ni, y rhai sy'n proffesu gwir gariad i Dduw, ac iddynt hwy, ymhyfrydu ynddo.

*Gof.* Os oes genym y cyfryw gariad cyfannedd i'r holl saint mewn dedwyddwch, nyni (modd y gwedda i bob cyfeillion) a gawn gyfrannu o'u llawenydd; a'u holl ddedwyddwch hwynt fydd eiddom ninnau?

*At.* Felly y bydd, canys cariad rhwng *Cristianogion*, sydd yn chwanegu happusrwydd bob tro a'r y caffont olwg ar eu gilydd. Ac o herwydd fod genym y cyfryw gariad iddynt hwy, y mae genym hyfrydwch o'u dedwyddwch hwynt yn gystal a'n dedwyddfyd ein hunain. Ac wrth hynny, fe fydd pob *sant* mor gyflawn o ddedwyddwch a phed fai'r ffynnon honno o ddedwyddwch yn ein meddiannau ni ein hunain: a rhwng yr holl *saint*, hwy a ollyngant holl ddedwyddwch y nef megis *môr* cyffredinol yn eu mysg.

*Gof.* Eithr ynghanol y rhagorfreintiau hyn oddi fewn, a charedigrwydd cymdeithgar, a gant hwy fyw yn *barchus*, a bod yn *arddercbog* mewn *lleoedd* a *breintiau*?

*At.*

*At.* Cant fod mewn *lleoedd* a *breintiau* megis *brenhinoedd* a *thywysogion.* Hwy a *eisteddant ar* Dat. 3.
*orseddfeingciau*; ac a *wisgant goronau* a *theyrn-* 21.
*wiail*; ac a fyddant *feibion i Dduw*, a *brodyr* a 1 Ped. 5.
*chyd-etifeddion â Christ*; ac a gant *feddiannu pob* 4.
*peth*: Ac a gant ragorfraint i sefyll oddi amgylch 1 Io. 3 1.
gorseddfaingc *Crist.* A pheth anhawdd i'w gredu Rhuf. 8.
(os na buasai i'r *gwirionedd* ei hun yspysu i ni) 17.
yw fod iddynt gael eistedd ar ei orseddfaingc Dat. 21.
gyd ag ef. *Yr hwn sydd yn gorchfygu, rhoddaf* 7.
*iddo ef eistedd gyd â mi ar fy ngorseddfaingc, megis y* Dat. 3.
*gorchfygais innau, ac yr eisteddais gyd â'm Tad ar* 21.
*ei orseddfaingc ef.* Ac heblaw'r gogoniant hwn, eu cyrph (fel y crybwyllwyd) a wisgir mewn disglair oleuni, gan ragori ar yr haul mewn disgleirdeb.

*Gof.* Ym mha le y byddant hwy byw i wisgo'r gogoniant hwn, ac i wledda ar y dedwyddfyd annhraethadwy hwn?

*At.* Mewn lle yn yr uchelder, a elwir *nef y nefoedd, ym mhell uwchlaw pethau gweledig*: yr Ephes.
hwn le sydd annhraethadwy mewn ehangder, a 4. 10.
disglair mewn gogoniant, ystafell presennoldeb y DUW MAWR a'r BRENIN, lle y mae efe yn byw yn y cyfryw *ddirfawr oleuni*, na ddichon llygad cnawdol *mor craffu arno na dyfod atto: nid* 1 Tim.
*eill neb weled ei wyneb ef a byw.* Yma y caiff y 6. 16.
cyfiawn, a golwg anfarwol, weled Duw yn dra- Ecsod.
gywydd mewn gogoniant; a hwy a gant eu 33. 20.
cyfran o'r holl lawenydd a'r gorfoledd crybwylledig, ac o'r dirfawr *bleserau y rhai sydd* Sal. 16.
*ar ddeheulaw Dduw yn dragywydd.* 11.

*Gof.* Os ydyw'r gwynfyd hwn mor barhaus, ai ni flinant hwy arno o'r diwedd? gan fod y cnawd blysig yn chwannog i gyfnewidiad, ac i alaru ar y pethau goreu o ddal yn hir wrthynt?

*At.* Na flinant: Canys fel y mae'r mwynhaad yn fawr, felly y mae'r chwennychiad bob amser. A foddir iddynt sydd bur, heb gymmysgiad gwrthwynebus ynddo. A'r chwennychiad yn berffaith, heb na llanw na thrai, na chyfnewid na blinder: yn gymmaint a'u bod fyth yn dymuno cystal ag yn mwynhau'r pleserau hyn; a chanddynt annhraethol felufter a bodlonrwydd ynddynt.

*Gof.* Ond er mwyn perffeithio'r cwbl, a'n gwneuthur yn siccr o dragywyddoldeb y bywyd hwnnw, a fydd i'r dedwyddwch nefol ddal allan heb waethygu, megis y gwna y rhan fwyaf o bethau pan heneiddiont?

*At.* Y rhai hyn a fyddant bob amser mewn
ffrwyth, ac a edrychant yn ireiddion ac mewn
Sal 16. blodau hyd dragywyddoldeb. *Ar ddeubeulaw*
11. *Dduw y mae digrifwch yn dragywydd. Pwys*
2 Cor. 4. *gogoniant sydd dragywyddol. Y deyrnas sydd ddisigl.*
17 Heb 12 *Y goron sydd anllygredig; ac anniflannedig.* Nid
28. bywyd dros amser, neu flynyddoedd, neu oesau,
1 Cor. 9. ydyw, eithr *bywyd tragywyddol.*

25. 1 Pedr 5. *Gof.* Y mae hyn yn gyfryw berffeithrwydd
4. dedwyddwch ac a bair i bob *Cristion crefyddol*
1 Io. 5. fod mewn brys am ei gyrraedd, a *biraethu am*
11 Phil. 1. *farw,* megis y gwnai *S. Paul,* er mwyn ei fedd-
21, 23. iannu.

*At.* Felly y mae, ped fai yn unig ond yr hyn
a grybwyllwyd am dano. Eithr pan ddelont
hyd yno, hwy a gant weled mwy o lawer nag a
ddywedpwyd am dano, ie nag a ddichon tafod
ei fynegi, na chalon ei ddychymmyg. Canys
1 Cor. 2. *ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth*
9. *i galon dyn y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai*
*a'i carant ef.*

*Gof.* Yr ydwyf yn canfod mor fendigedig yw bywyd tragywyddol y rhai cyfiawn: Eithr y mae

adgyfodiad

adgyfodiad i'r rhai anghyfiawn hefyd: pa fath a fydd cyflwr y rhai hynny?

*At.* Y *trueni mwyaf* ynghorph ac enaid ac a ddichon fod: Canys y mae'r *ysgrythyr* wrth y gair *bywyd* yn crybwyll am barnaad i'r anghyfiawn mewn *trueni tragywyddol* yn gystal ac i'r cyfiawn mewn *dedwyddwch tragywyddol.* Eithr trueni parhaus yr anghyfiawn a elwir *marwolaeth dragywyddol.* 2Thes. 1. 8. 9. Dat. 2. 11.

*Gof.* Pa ryw gystudd ac adfyd sydd raid i'r rhai drygionus eu dioddef yn dragywydd?

*At.* Pob *gofid* a *blinder*; a'u heneidiau a boenir yn ddi baid gan lid a digofaint, gofalon diles, ac arswyd annherfynol, llwyr anobaith gwellhaad. A *cholyn cydwybod*, yr hwn a'u brath trwodd â chnofeydd chwerwon, yn mud gnoi bob amser, megis pryf ar eu calonnau a'u hymysgaroedd: *nid yw eu pryf hwynt yn marw.* Marc 9. 44.

*Gof.* Y mae'r holl ddioddefiadau hyn megis cynnifer o seirph digllonaidd, yn enwedig yr *ofn* gwallgofus, a'r *dychryn* cethinol. Eithr a fydd i'r eneidiau truain gael eu gwarchae gan y cospedigaethau hynny?

*At.* Bydd: canys hwy a fyddant wedi eu hamgylchu gan eu gelynion cynfigennus, a'u gadael mewn tywyllwch, yr hyn (ped fai raid) a wnai'r arswyd yn fwy. Ac i ddatgan eu cyflwr anghysurus, dywedir y bydd iddynt gael eu *bwrw i'r tywyllwch eithaf: i'r hwn y mae niwl tywyllwch ynghadw yn dragywydd.* Mat. 22. 13. 2 Pedr 2. 17.

*Gof.* Pa beth yw pry'r gydwybod hwnnw?

*At.* Cnofeydd chwerwon am eu hynfydrwydd truenus, yr hyn a dynnodd arnynt y cyfryw boenau anoddefadwy, heb obaith cael fyth symmudiad nac esmwythaad.

*Gof.* A ydyw'r pry'r gydwybod hwn yn artaith mor greulon i eneidiau dynion, ai fod yn

debyg i bryf yn ymborthi ar eu hymysgaroedd hwynt ?

*At*. Ydyw: Canys y mae'r rhai sy'n dioddef (a'r rhai hynny yn unig a wyddant faint y loes) yn ei gyfrif yn fwy blaenllym ac arswydus nag ing marwolaeth, a'u bod yn edrych am ryw fodd i'w difetha eu hunain, er mwyn cael terfyn
Dihar. 18. 14. arno. *Yspryd gwr a gynnal ei glefyd ef: ond yspryd cystuddiedig pwy a'i cyfyd?* Ac os ydyw mor anoddefadwy yn y byd yma, lle nad yw ond dechreuad prawf o hono, pa beth a fydd pan ddel eithaf dychryndod, a phan gyflawnir pob adfyd, anobeithiol gyfyngder, a chreulonder ellyllon uffernol, wedi torri yn rhyddion, gan ddangos eu grym gwallgofus, a phob math ar ing a gofid echryslon ynghyd ag eithaf cyflymder ysprydion ffyrnig a nerthol, mewn byd arall.

*Gof*. Eithr tra byddo i'r *eneidiau* anghysurus hyn gael eu llarpio gan bob math ar boenau echryslon, pa fodd y digwydd i'r *cyrph?*

*At*. Hwy a fyddant yn *berwi mewn tân*, fel y dywedais, ac yn dioddef pob rhyw arteithiau a'r a allai ddynion eu teimlo yn y tân poethaf:
Mat. 13. 42. *hwy a deflir i'r tân poeth. Ac a gant eu rhan yn y pwll yr hwn sydd yn llosgi â thân a brwmstan, yr*
Dat. 21. 8. *hyn yw'r ail farwolaeth.*

*Gof*. Nid eill hyn lai nâ bod yn boen echryslon. Eithr a gant hwy ddim i'w liniaru, ac i wneuthur y boen yn esmwythach ?

Luc 16. 24. *At*. Na chant gymmaint a *defnyn o ddwfr i oeri eu tafodau*, pan fyddont yn *poeni yn y fflam:* na chymmaint o esmwythaad o'u blinder a'u gofid, a throi ar yr ochr arall, na chyfnewid yr
Mat. 22. 13. ystum y byddont ynddo: *rhwymwch ei draed ef a'i ddwylaw*, (modd nad ysgogo) medd ein Harglwydd, pan y mae yn barnu'r pechadur i'r *pwll hwn o dân.*

Gof.

*Gof.* Fe a fydd *cywilydd a gwarth* yn dilyn hyn, mae 'n debyg?

*At.* Bydd, canys y maent mor gas yngolwg Duw a dynion, ïe, ac yn eu golwg eu hunain hefyd, a bod yn dra gofidus ganddynt feddwl mai ynfydrwydd gwirfodd a diystyr ddrwg-weithredoedd, a'u tynnodd hwynt i'r llam hon.

*Gof.* Ai ni bydd i Dduw, yr hwn yw gobaith a chyssur pawb mewn adfyd, edrych arnynt â llewych ei wynebpryd yn y cyflwr truenus hwn?

*At.* Na fydd; ni chant hwy weled mo'i wyneb ef byth, na derbyn un pelydryn o'i ffafr. Eithr efe a ddywed, *Ewch oddiwrthyf rai melldigedig.* Mat. 25. 41.
*A hwy a ddioddefant gosbedigaeth dragywyddol oddi ger bron yr Arglwydd.* Nid edrych efe arnynt, 2 Thes. 1. 9.
ond mewn digofaint a llid, ac nis cofia hwynt mewn trugaredd mwy.

*Gof.* Eithr pan adewir hwynt gan Dduw, a fyddant hwy yn ddi gymdeithas yn y cyflwr hwn?

*At.* Na fyddant: ond y gymdeithas honno a fydd *gythreuliaid* ac ysprydion drwg, y rhai sy'n dra sychedig am waed: ac heb ganddynt ffordd arall i esmwythau ar eu poenau eu hunain, ond drwy chwanegu poenau pechaduriaid yno. *Ewch* Mat. 25.
*i'r tân tragywyddol, yr hwn a baratowyd i ddiafol* 41.
*ac i'w angylion.*

*Gof.* Eithr a fydd (ymhlith y giwed greulon honno) neb i dosturio wrthynt ac i'w cynnorthwyo, gan eu bod an-abl i'w cynnorthwyo eu hunain?

*At.* Na fydd yno neb ond rhai fel hwythau, yn rhy ofidus dan eu trueni eu hunain i wrando ar gwyn neb arall. A'r rhai hynny oll cyn ffyrnicced a nadroedd gwenwynllyd, heb feddu na chariad na thosturi wrth eraill: canys nid lle cariadus ydyw uffern. *Yr hwn sydd yn aros mewn* 1 Io. 4.
*cariad,* 16.

*cariad, fydd yn aros yn Nuw.* Nid oes yno le i gael na chyfaill na chynnorthwy, na chefnogrwydd nac esmwythdra, na neb i ddioddef munudun trostynt: cynt y byddis yn edliw iddynt, er mwyn chwanegu eu poenau, er eu bod eisoes yn fwy nâ digon i galon dyn ddychymmyg.

*Gof.* Ond fe allai un peth roddi rhyw faint o esmwythdra i gefnogi eu hysprydoedd, er nad all roddi gollyngdod, sef *cysgu a huno.*

Dat. 14. 11. *At.* Nag eill Canys *mŵg eu poenedigaeth hwy sydd yn myned i fynu yn oes oesoedd: ac nid ydynt hwy yn cael gorphwystra ddydd na nos.*

*Gof.* Gan hynny, os nad oes orphwystra i'r boen hon, a hithau mor greulon, diau nad all *barhau yn hir*, o herwydd y trueiniaid a ddarfyddant mewn amser?

*At.* Na ddarfyddant, nid oes ddibendod arnynt. Eu cyrph (fel y dywedais) a wnaethpwyd yn ddi-

Marc 9. 43, 44. ddarfod, ac yn anfarwol. *Eu pryf nid yw yn marw, na'u tân yn diffodd.* Ac y mae'r *ysgrythyr lan* yn crybwyll am dragywyddoldeb y gosp hon, nid o ran bygythion yn unig, ond hefyd o ran dangos cyflwr y byd arall (fel y gallom wybod fod poenau pechaduriaid yn ddi ddarfod) y dangoswyd hwynt.

*Gof.* A ydyw pob barnwr yn rhwym i roddi bygythion ar waith yn ddi-arbed?

*At.* Nag ydynt. Canys ped fai hynny'n bod ni byddai fodd i'r rhai sy'n rheoli wrth y gyfraith wneuthur dim trugaredd ar un achos. Ac y mae Duw ei hun yn arbed y farwolaeth oedd yn digwydd i ni yn *Adda* er mwyn *haeddedigaeth Crist.* Os llywydd a wna ryw *addewidion* o wellhaad i'w ddeiliad, y mae'n rhaid iddo gyflawni, ac oni wna, efe a gyfrifir (gan ei ddeiliad) yn anghyfiawn. Ac os rhoddir ar y deiliad hwn *fygythion* i'w ddarostwng gan ei lywydd, y cyfryw ddeiliad

ddeiliad a wna ei oreu ar osgoi'r bygythion, drwy haeddu'r gwellhaad yn hyttrach. Ond y mae'r gallu ar law'r llywydd, yr hwn a eill esmwythau lle y bo resymmol heb wneuthur cam â neb, yn gystal a chospi, os bydd achos. Gan hynny nid yw'r barnwr yn rhwym i roddi bygythion ar waith hyd yr eithaf, heb achos yn peri.

Ond er hynny, mae yn rhaid meddwl fod yn angenrhaid i bob llywodraeth roddi bygythion y gyfraith ar waith er mwyn cyflawni gwirionedd a chyfiawnder. Canys heb hynny, nid ofnid bygythion. Eithr am y gosp dragywyddol a fygythir yn yr *efengyl* ar bechaduriaid anedifeiriol, nid oes le i obeithio yr arbedir hwynt gan Dduw. Oblegid fe a ddangososodd mor anhawdd oedd ganddo arbed y bygythion oedd ar hiliogaeth *Adda* o herwydd tramgwydd eu tad, pan nas bodlonid ef am y farwolaeth oedd ddyledus iddynt hwy, â dim llai nâ marwolaeth ei *unig anedig Fab*. Ac os nyni a esgeuluswn y fantais rasusol hon, gwybyddwn nad oes yr un Mab arall gan Dduw i farw trosom. Ac heblaw hynny, yr oedd ei fygythion, y rhai a lafarwyd trwy *Foses*, i'w cyflawni yn ddi arbed: *Canys os bu gadarn y* Heb. 2.
*gair a lafarwyd wrth* Foses *trwy* finistriad *angylion*, 2, 3.
fel y dywed S. *Paul*; *ac os derbyniodd pob trosedd ac anufudd-dod, gyfiawn daledigaeth, pa fodd y diangwn ni* oddi wrth ddialedd y bygythion trwy *Iesu Grist*, *os esgeulusfwn yr iachawdwriaeth* y mae ei *efengyl* ef yn ei gynnyg, gan dynnu'r holl fygythion am ein pennau, y rhai sy ddyledus yn unig i bechaduriaid anedifeiriol. Canys ni chrybwyllwyd am gospedigaethau tragywyddol, o ran eu bygwth yn unig (fel y dywedpwyd) ond o ran cyhoeddi'r gwirionedd yn ei chylch, gan ddangos i ni fod pob peth yn y byd arall yn gyfryw ac yr oedd ein Iachawdwr ei hun (yr hwn a ddaeth

a ddaeth oddi yno) a'i apostolion a'r ysgrythyrau, yn dywedyd eu bod.

*Gof.* Duw mawr! mor anoddefadwy ac anghysurus yw cyflwr y damnedig? A oes un dyn (os credai mai dyna gyflog pechod) na chymmerai'r boen fwyaf arno o ran dioddef ym mhlaid crefydd a phurdeb buchedd, er mwyn gochelyd poenau diddarfodedig, ac ynnill bywyd tragywyddol?

*At.* Yn ddiammeu dyna'r *ymarfer fucheddol* a
2 Cor. 5. ddylem ni wneuthur, *a ni yn gwybod ofn yr Ar-*
11. *glwydd*, yn cospi'r drygionus ar ol y farn ddiweddaf; *yr ydym yn perswadio dynion* i ddilyn buchedd gyfiawn yma ar y ddaear, heb yr hyn nid oes fodd i ochelyd *poenau tragywyddol*.

*Gof.* Gan fod dedwyddwch y cyfiawn mor barhaus, ac mor helaethlawn, ai ni ddylai'r sawl a gredai'r pethau hyn oll, ddiystyru pleserau byrion pechadurus, yn fwy enwedig gan eu bod yn elynion cyhoeddus i'n dedwyddfyd; a dwyn ar gof iddynt eu hunain nad yw dioddef o herwydd Duwioldeb rhinweddol, ond megis dim wrth y wobr sydd i'w derbyn o'r achos?

Rhuf. 8. *At.* Dylai yn wir. *Oblegyd nad yw dioddefiadau*
18. *yr amser presennol hwn, yn haeddu eu cyffelybu i'r*
Adn. 38, *gogoniant a ddatguddir i ni: nid all angau, nac*
39. *einioes, na phethau presennol, na phethau i ddyfod, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yng Nghrist Iesu ein Harglwydd.* Amen.

*D I W E D D.*

